darth a nifwl, ac nid oes ond ychydig o ddiwrnodau clir i'w cael ynddi trwy'r flwyddyn. Mae ei gauaf yn dechreu yn niwedd Medi, ac yn parhau hyd ddiwedd Ebrill. Gwlad anffrwythlon yw hefyd; ni thyf gwenith nac Indrawn, na ffrwythau coed na gerddi ynddi. Codwyd peth haidd a cheirch, a rhai ffrwythau gerddi, mewn manau ynddi. Ei choedydd, a'i physgod, a'i *furs*, yw y pethau mwyaf gwerthfawr a masnachol sydd ynddi ar hyn o bryd. Dichon, yn mhen blynyddau lawer eto, y bydd y diriogaeth fawr hon o werth annrhaethol i'n Llywodraeth, mewn ystyr wleidyddol a masnachol, ac y bydd reilffyrdd yn rhedeg trwyddi, ac agerddlongau yn croesi Culfor Behring, ac yn ei chysylltu â'r rhan arall o'r ddaiar, sef Asia, Ewrop, ac Affrica.

NODIAD.—Mae y rhan fwyaf o *diriogaethau* y Weriniaeth fawr hon, ar, ac oddeutu y Mynyddoedd Creigiog; amgylchant hwynt yn mhob cyfeiriad. Safant ar lawer uwch tir na'r taleithau dwyreiniol a deheuol; maent yn llawer mwy bryniog a chreigiog; ac y mae rhai o'u mynyddau yn dyrchafu eu penau yn uchel iawn, ac yn orlawn o fwnau gwerthfawr. Nid yw y Wyddfa yn Arfon, G. C., ond 3,571 o droedfeddi uwchlaw arwyneb y mor; ond y mae Pike's Peak yn Colorado yn 14,500 troedfedd uwchlaw y mor. Wrth deithio tuag atynt, ar y Pacific Railroad, o'r dwyrain neu o'r gorllewin, ceir golygfa fawreddog ac aruthrol arnynt! Dyrchafant eu penau hyd y cymylau; yn glawdd hir du o'r gogledd i'r de; a gorchuddir copäau rhai o honynt ag eira oesol. Ond wrth eu godre y mae gwastadeddau a dyffrynoedd ffrwythlawn, a rhai trefydd poblog. Rhed y gerbydres, ar y reilffyrdd, yn dra chyflym, o'r gwastadedd, i lethrau eu bryniau, gan gylchdroi a dyrchafu yn uwch uwch, (a dyfnderau danynt, a chreigiau affwys uwch eu penau,) nes dyfod trwy eu bylchau culion ac arswydol, ac wedi hyny disgyn yn raddol i'r gwastadedd yr ochr arall. Cymerir tua phedwar diwrnod i fyned felly o Omaha yn Nebraska i San Francisco yn California.

Mae y tiriogaethau hyn, gyda'u gilydd, yn cynnwys yn agos i haner holl diroedd yr Unol Dalaethau; yn wledydd tra eang bob un o honynt; a gellir diwyllio llawer o honynt, a'u gwneyd yn ddoldiroedd ffrwythlon, a defnyddio llethrau eu bryniau at fagu anifeiliaid, a defaid; a bydd eu mwngloddiau aur, arian, copr, plwm, haiarn, &c., yn ddigon i ddiwallu angen yr holl wlad am oesau a chenedlaethau. Y peth sydd yn awr yn atal fwyaf ar eu poblogiad, yw ymosodiadau gwaedlyd y gwahanol lwythau o Indiaid anwareiddiedig sydd yn eu cyfaneddu.

Mae gan y Llywodraeth amddiffynfeydd (*forts*) a milwyr lawer yn mhob tiriogaeth, er amddiffyn eu dinasyddion; er hyny gwneir rhuthriadau sydyn arnynt weithiau gan yr Indiaid. Amser dedwydd fydd hwnw, pan fydd *holl Indiaid melyn-goch America* wedi eu gwareiddio, a'u dysgu i lafurio y ddaiar, ac i fyw yn heddychol gyda'u gilydd, ac ereill, yn eu sefydliadau; ac oll yn Gristionogion Biblaidd yn dilyn y Gwaredwr Prysured. Amen.

## PENNOD XI.

### CANADA.—PATAGONIA.

CANADA.—Un o'r tiriogaethau mwyaf, perthynol i Lywodraeth Lloegr, yw Canada. Cynnwysa America Brydeinig fwy o arwynebedd o diroedd na'r Unol Dalaethau; ond eu bod oll yn fwy gogleddol. Terfynir hi o du y dwyrain gan y Werydd; o du y de gan yr Unol Dalaethau; o du y gorllewin gan y Tawelfor; ac o du y gogledd gan y Baffin's Bay a'r Arctic Ocean; ac y mae yr Hudson's Bay yn fôr mawr yn ei chanoldir. Mae Canada briodol tua 1,600 milldir o hyd, wrth o 300 i 400 o filldirau o led; yn cyrhaedd o lanau afon St. Lawrence, a llyn Ontario, at yr Hudson Bay; ac o Labrador hyd lyn Superior. Nid yw ei phoblogaeth ond tua phum' miliwn (5,000,000). Mae ynddi filiynau o erwau o diroedd da eto, y gellir eu prynu gan y Llywodraeth am o 1 swllt i 7 swllt yr erw; ac y mae llawer o'i thyddynwyr yn bobl gyfoethog. Poblogir hi gan mwyaf gan y Saeson, y Scotiaid, y Gwyddelod, a'r Ffrancod. Ei phrif ddinasoedd yw Quebec, Montreal, Kingston, a Toronto, ar lanau gogleddol y St. Lawrence. Diau fod llawer o Gymry yn wasgaredig ynddi, ac mewn undeb crefyddol â'r Saeson; ond nid wyf yn gwybod am un eglwys na chapel Cymreig yn un man ynddi. Mae ei gauaf yn hir ac yn oer, er hyny y mae ei phreswylwyr yn bobl iachus a dedwydd. Ceir ynddi lawer o fanteision crefyddol ac addysgiadol. Ond nid yw yn wlad mor fanteisiol a rhydd i'r dosparth gweithgar ag yw yr Unol Dalaethau. Poblogir ei thiroedd eang, i'r gogledd, hyd lanau y Môr Rhewllyd, ac i'r gorllewin hyd lanau y Tawelfor, gan wahanol lwythau o Indiaid anwareiddiedig. Pa olwg fydd ar y wlad eang hon yn mhen dau can' mlynedd eto?

PATAGONIA.—Mae Patagonia yn wlad fawr eang; yn agos i fil o filldirau o hyd wrth bedwar cant o filldirau o led—yn rhedeg o'r Negro River hyd Cape

Horn, ac o lanau y Werydd hyd lanau y Tawelfor; ac y mae rhes o fynyddau yr Andes yn ei chroesi; a chyfyd ei thiroedd yn raddol o lanau y moroedd hyd y mynyddau uchel hyny; a dylifant ei hafonydd o'r bryniau i lawr i'w dyffrynoedd, ac ar hyd ei gwastad-diroedd, gan ymdywallt i'r Werydd. Gorwedda rhwng lledred deheuol 40° a 50°; tua 2,760 o filldirau o Linell y Cyhydedd, (*Equator,*) ar derfyn deheuol pellaf Cyfandir America; tua 5,520 o filldirau o borthladd New York, a thua 3,000 o filldirau i'r pegwn deheuol. Mae ar yr un lledred a New Zealand, ac yn nês i'r pegwn deheuol nac Ynys fawr Australia; ac y mae ei hinsawdd mor boeth a hinsoddau Ffrainc a Spaen yn Ewrop, ond yn cael ei dymheru yn fwy gan yr awelon oerion ac adfywiol o'r môr a'r mynydd. Perthyna i Lywodraeth yr "*Argentine Confederation,*" neu Weriniaeth Buenos Ayres; yr hon er ys blyneddau a wnaeth gytundeb manteisiol â "Chwmni Ymfudol a Masnachol y Wladfa Gymreig," er ei phoblogi. Corphorwyd y Cwmni anrhydeddus a chenedlgarol hwn yn ol cyfreithiau Lloegr; ac y maent wedi gweithio yn egniol a llwyddianus, trwy rwystrau lawer, hyd yma. Maent yn awr yn gwmni cryf a chyfrifol, yn meddu cyfalaf o £50,000, yn rhanedig i 50,000 o ranau (*shares*) £1 yr un; a llawer o filoedd o honynt wedi eu cymeryd eisoes yn Lloegr, Cymru, ac America. Penderfynasant sefydlu ar ddyffryn afon y Camwy, (*Chupat River,*) yr ochr ddwyreiniol i fryniau yr Andes, nid yn mhell o lanau y Werydd. Mae yr afon hono yn fordwyol i longau bychain; ac y mae y dyffryn hwnw yn un da i godi gwenith, ac i fagu anifeiliaid; ac y mae eangder mawr o wlad ragorol am ganoedd o filldiroedd o'i deutu. Ychydig a archwiliwyd o honi eto. Dywed rhai hanesion mai "gwlad oer, sych, a diffrwyth, yn cael ei phoblogi gan ychydig o Indiaid nodedig am eu taldra" ydyw. Ond y mae tystiolaethau y sefydlwyr Cymreig, a fuont yn byw yno am y chwe' blynedd diweddaf, yn profi yn wahanol. Dywedant hwy fod ei hinsawdd yn dymherus, ei dyffrynoedd yn rhagorol am gynyrchu gwenith, a'i bryniau am fagu anifeiliaid. Nid rhyfedd eu bod wedi dyoddef cyfyngderau yno y blyneddau cyn-

taf. Camddarluniwyd llawer ar y wlad, er ceisio digaloni y Cwmni. Gwnaeth y Parch. Michael Jones, y Bala, G. C., a lluoedd ereill yn Nghymru, eu goreu dros lwyddiant y Wladfa; ac y mae y Parch. D. S. Davies, Youngstown, Ohio, a'r Pwyllgor yn Hyde Park, Pa., ac ereill yn America, yn awr yn gwneyd eu goreu drosti. Mae yn deilwng o gefnogaeth yr holl genedl. Swyddogion presenol y Wladfa ydynt:—H. Cadvan Hughes, Llywydd; David Williams, Barnwr; Edwin Roberts, Arolygwr y Cyfrifon; Lewis Jones, Cadeirydd y Cynghor; Richard Berwyn Jones, Ysgrifenydd y Cynghor; Cofiadur Cyffredinol—Dr. Lloyd Jones, Ruthin, G. C.

# CYFLAWN OLYGFA

AR

# GYMRY AMERICA,

A'U

SEFYDLIADAU, A'U HEGLWYSI A'U GWEINIDOGION,

A'U

CERDDORION, A'U BEIRDD, A'U LLENORION, &C.

---

## Tiroedd Rhad y Llywodraeth, a'r Reilffyrdd, &c.,

A'R

**MODDAU I SICRHAU CARTREFI RHAD A DEDWYDDOL;**

GYDA PHOB

***CYFARWYDDIADAU RHEIDIOL I YMFUDWYR.***

---

**GAN Y PARCH. R. D. THOMAS,**
(IORTHRYN GWYNEDD.)

---

*Ein Cenedl, Ein Hiaith, Ein Mabwysiedig Wlad.*

UTICA, N. Y.
T. J. GRIFFITHS, ARGRAFFYDD, EXCHANGE BUILDINGS.
1872.

## "CYMRY GLAN AMERIC."

**CAN A CHYDGAN GENEDLAETHOL.**

*Cyflwynedig i Joseph Parry, Ysw., (Bachelor of Music.)*

**(Gwel y Don ar ddiwedd y Llyfr hwn.)**

---

1. Tra b'o'r bryniau a'r doldiroedd
   Yn addurno Gwalia Lân ;
   A holl adar ei choedwigoedd,
   Yn adloni gwlad y gân ;—

CYDGAN—Bydd Cymry glân Americ,
Mewn pur Gymraeg o hyd,
Yn seinio 'r hen ganiadau,
I Brynwr mawr y byd.

2. Tra b'o'r disglaer haul yn gwenu
   Ar ein daiar delaid ni ;
   A'r lloer wen yn adlewyrchu,
   Ac yn teg arianu 'r lli' ;—
   "Bydd Cymry glân Americ," &c.

3. Tra b'o myrdd o longau mawrion,
   Dan faneri heirdd pob gwlad,
   Yn dyrwygo dwr yr eigion,
   Er cyflenwi marchnad rad ;—
   "Bydd Cymry glân Americ," &c.

4. Tra b'o'r Andes fawr yn gwisgo
   Eira oesol am ei ben,
   Fel rhyw gadarn deyrn yn lluddio
   Hynt y cwmwl yn y nen ;—
   "Bydd Cymry glân Americ," &c.

5. Tra b'o'r tanllyd fydoedd mawrion,—
   Y planedau claer, a'r sêr,
   Yn llewyrchu yr uchelion,
   Ac yn datgan mawl eu Nêr ;—
   "Bydd Cymry glân Americ," &c.

6. Pan grochfloeddia yr archangel,
   Nes deffroi marwolion llawr ;
   A'r Duw-ddyn ar orsedd uchel,
   Barn y dydd diweddaf mawr ;—
   "Bydd Cymry glân Americ," &c.

# CYNNWYSIAD.—DOSRAN C.

## PENNOD I.

### POBLOGAETH GYMREIG YR HOLL DALAETHAU.



## PENNOD II.

### YR ENWADAU CREFYDDOL CYMREIG.



## PENNOD III.

### ENWOGION CYMREIG, A LLENYDDIAETH CYMRY AMERICA.



## PENNOD IV.

### RHESTR YCHWANEGOL O'N BEIRDD A'N LLENORION, &C.



## PENNOD V.

### CYFARWYDDIADAU I YMFUDWYR.

## PENNOD VI.

### TIROEDD Y LLYWODRAETH, A'R MODDAU I'W SICRHAU I'R CYMRY.



## PENNOD VII.

### TIROEDD Y TALAETHAU, A'R REILFFYRDD, &C.



## PENNOD VIII.

### Y REILFFYRDD GOREU O NEW YORK I'R GORLLEWIN A'R DE.



## PENNOD IX.

### AUR, ARIAN, PRES, PAPYRAU, GWAITH, CYFLOGAU, &C.



## PENNOD X.

### CYNLLUN O GYNNWYSIAD YR AIL GYFROL.

# CYFLAWN OLYGFA, &c.

## PENNOD I.

### POBLOGAETH GYMREIG YR HOLL DALAETHAU.

Mae Llywodraeth Werinol yr Unol Dalaethau yn awr yn cyrhaedd dros dair miliwn o filldiroedd petryal (3,400,000), a 2,176,000,000 o erwau o dir! Mae yr arwynebedd eang yma yn cyrhaedd o lanau Môr y Werydd, yn y dwyrain, hyd lanau y Tawelfor yn y gorllewin, am yn agos i dair mil a phedwar cant (3,400) o filldirau o hyd; ac o'r llynoedd mawrion a'r Canadas yn y gogledd, hyd derfynau Mexico yn y de, am dros dri chant-ar-ddeg (1,300) o filldiroedd o led; ac yn cynnwys y mynyddau mwyaf goludog, a'r dyffrynoedd mwyaf eang a chynyrchiol, a'r *prairies* mwyaf ffrwythlon ac iachus, a'r coedwigoedd mwyaf gwerthfawr ar wyneb yr holl ddaiar; digon i roddi 160 o erwau i 13,600,000 o deuluoedd; i gynnwys poblogaeth o dros ddau gan' miliwn a haner (272,000,000); ac ni byddai poblogaeth felly ond pedwar ugain (80) o bersonau ar bob milldir betryal; nac yn agos gymaint a chyfartaledd poblogaeth Lloegr, Scotland, a Chymru, yr hyn sydd tua 240 ar bob milldir ysgwar. Y mae poblogaeth siroedd Morganwg a Mynwy, yn Neheudir Cymru, yn fwy lluosog na hyny; ac y mae poblogaeth Belgium yn Ewrop, yn lluosocach fyth. Diau y gallai holl diroedd yr Unol Dalaethau, wedi eu diwyllio yn dda, ddiwallu dros bedwar can' miliwn (400,000,000) o boblogaeth.

Yr oedd poblogaeth y Weriniaeth fawr hon yn y fl.

1850 yn 23,191,876. Cynyddodd i 31,443,321, erbyn 1860. Ond yn ol cyfrifiaeth (*census*) y fl. 1870, yr oedd yn 38,533,191! Cynyddodd dros bymtheg miliwn (15,341,315) yn yr ugain mlynedd diweddaf! Lled debyg y bydd ei phoblogaeth yn 1880 yn agos i haner can' miliwn (50,000,000). Ond 38,533,191 oedd yn 1870. Nid yw hyny ond ychydig dros 11 o bersonau ar bob milldir betryal. Am hyny amlwg yw fod yma ddigon o le i filiynau eto i gael cartrefi dedwyddol. Mae genym yn awr 37 o dalaethau, ac 11 o diriogaethau mawrion. Dyma restr o honynt; rhif I. yn nodi eu milldiroedd petryal; rhif II. yn dangos nifer y bobl dduon ynddynt yn 1860; a rhif III. yn cynnwys eu cyflawn boblogaeth yn 1870:—

| TALAETHAU. | RHIF I. | RHIF II. | RHIF III. |
|---|---|---|---|
| Alabama | 50,722 | 437,770 | 996,988 |
| Arkansas | 52,198 | 111,259 | 483,179 |
| California | 188,981 | 4,086 | 558,900 |
| Connecticut | 4,750 | 8,627 | 537,418 |
| Delaware | 2,120 | 21,627 | 125,015 |
| Florida | 59,248 | 62,677 | 187,750 |
| Georgia | 58,000 | 465,698 | 1,200,609 |
| Illinois | 55,410 | 7,628 | 2,539,385 |
| Indiana | 33,809 | 11,428 | 1,673,046 |
| Iowa | 55,045 | 1,069 | 1,190,845 |
| Kansas | 81,318 | 627 | 362,872 |
| Kentucky | 37,680 | 236,167 | 1,321,001 |
| Louisiana | 41,346 | 350,373 | 732,731 |
| Maine | 35,000 | 1,227 | 626,463 |
| Maryland | 11,124 | 171,131 | 780,806 |
| Massachusetts | 7,800 | 9,602 | 1,457,351 |
| Michigan | 56,451 | 6,799 | 1,184,296 |
| Minnesota | 83,531 | 259 | 435,511 |
| Mississippi | 47,156 | 437,404 | 834,170 |
| Missouri | 65,350 | 118,503 | 1,714,160 |
| Nebraska | 75,995 | 82 | 123,000 |
| Nevada | 81,539 | 45 | 42,941 |
| New Hamphshire | 9,280 | 494 | 318,300 |
| New Jersey | 8,320 | 25,336 | 905,794 |
| New York | 47,000 | 40,005 | 4,364,411 |
| N. Carolina | 50,704 | 361,522 | 1,069,614 |
| Ohio | 39,964 | 36,673 | 2,660,660 |
| Oregon | 95,274 | 128 | 90,922 |
| Pennsylvania | 46,000 | 56,949 | 3,515,993 |
| Rhode Island | 1,306 | 3,952 | 217.356 |
| S. Carolina | 34,000 | 412,320 | 728,000 |
| Tennessee | 45,600 | 283,019 | 1,257,983 |
| Texas | 274,356 | 182,921 | 797,500 |
| Vermont | 10,212 | 709 | 330,552 |
| Virginia | 38,352 | 548,907 | 1,224,830 |
| West Virginia | 23,000 | ——— | 445,616 |
| Wisconsin | 53,924 | 1,171 | 1,055,167 |

Yn y fl. 1860, cyn dechreu y gwrthryfel, yr oedd yn agos i bedair miliwn a haner (4,418, 294) o'r Negroaid duon yn y wlad hon; dros ddau gan' mil (216,370) yn *rhyddion* yn y Dwyrain, y Gogledd, a'r Gorllewin; a *thros bedair miliwn* (4,201,924) yn gaethion (*slaves*) yn y Talaethau Deheuol. Ond rhyddhawyd hwynt oll yn amser y Rhyfel, trwy awdurdod y Llywodraeth yn Washington, a goruchel reolaeth Duw y Nefoedd.

Wrth graffu yn fanwl ar y rhestr uchod, gall y darllenydd weled maintioli a phoblogaeth y gwahanol dalaethau; a thrwy hyny gall gael cynorthwy i ffurfio barn am y lleoedd y bydd yr ymfudiad mwyaf iddynt yn y dyfodol; a thrwy eu cymharu â'r taflenau canlynol, gall wybod yn mha dalaethau neillduol y preswylia y Cymry, a'u rhifedi cymharol i'r holl boblogaeth.

Dyma hefyd restr o'r Tiriogaethau eang perthynol i'r Llywodraeth hon, y rhai a orweddant yn, ac oddeutu y Mynyddoedd Creigiog, ac ar lan y Môr Tawelog; sef, 1. Alaska (Sitka). 2. Arizona (Tucson). 3. Colorado (Denver). 4. Dakota (Yancton). 5. Idaho (Boise). 6. Indian (Tahlequah). 7. Montana (Virginia City). 8. New Mexico (Santa Fe). 9. Utah (Salt Lake City). 10. Washington (Olympia). 11. Wyoming (Cheyenne). Nodir eu prif ddinasoedd rhwng y cromfachau. Mae poblogaeth gref yn rhai o honynt eisoes; a phoblogir hwynt oll yn gyflym; a derbynir hwynt cyn hir i'r Undeb fel talaethau pwysig a dylanwadol. Mae pob un o honynt yn cynnwys tiroedd amaethyddol rhagorol, a mwngloddiau aur, arian, plwm, copper, haiarn, glo, &c., ac yn ddigon ehelaeth i gynnwys a diwallu miliynau o drigolion. Mae llawer o Indiaid anwaraidd yn eu poblogi yn bresenol.

Dechreuwyd poblogi y *New England States*, a llawer o'r talaethau ereill dwyreiniol, gan bobl oreu y ddaiar,

sef hen Anghydffurfwyr (*Nonconformists*) Lloegr, Scotland, Cymru, ac Ewrop; Protestaniaid a Diwygwyr enwog, dysgedig, a gwir grefyddol, oedd yr Ymneillduwyr a'r Crynwyr (Quakers) yn Lloegr a Chymru: a'r Presbyteriaid yn Scotland; a'r Huguenots yn Ffrainc; a'r Morafiaid a'r Waldensiaid yn Switzerland, &c. Ymfudodd miloedd o honynt i'r wlad hon er ys dros ddau gant o flynyddoedd yn ol, ac wedi hyny; ac y mae dylanwad bendithiol eu hegwyddorion, eu dysgeidiaeth, a'u crefydd bur, yn aros ar y miloedd hyd heddyw. Ond ymfudodd miloedd yma hefyd o wahanol wledydd Prydain Fawr, Ewrop, ac Asia, o'r cymeriadau gwaethaf a fedd y byd; ac y mae y rhan fwyaf o'r cyfryw yn llechu yn ein dinasoedd mawrion, yn gefnogwyr y fasnach feddwol, a phob drygau ereill, ac yn caru segur-swyddau, &c., ac yn casau gweithgarwch a gonestrwydd. Poblogir yr Unol Dalaethau yn awr gan rai o bob cenedl wareiddiedig sydd yn preswylio ar holl wyneb y ddaiar; ond yr *Americaniaid*, sef disgynyddion yr hen sefydlwyr, y rhai a *anwyd* yn y wlad; a'r Saeson, a'r Gwyddelod, a'r Ellmyniaid, a'r Ffrancod, a'r Scotiaid, sydd yn gwneyd y mwyafrif o lawer; a hwynt-hwy yw y bobl sydd yn meddu mwyaf o ddylanwad yma, fel masnachwyr, trafnidwyr, crefftwyr, amaethwyr, llafurwyr, gwleidyddwyr, dysgawdwyr, meddygon, cyfreithwyr, a chrefyddwyr. Ond y mae yma hefyd filoedd o genhedloedd ereill; Rwssiaid, Prwssiaid, Twrciaid, Norwayaid, Daniaid, Swediaid, Poliaid, Italiaid, Spaeniaid, Affricaniaid, Chineaid, &c., a llawer o Iuddewon, yn meddu dylanwad mawr, mewn rhai trefydd ac ardaloedd. Nid wyf yn alluog i gyhoeddi rhifedi pennodol poblogaeth pob un o'r cenhedloedd hyn, yn yr Unol Dalaethau, er mor ddymunol fuasai hyny genyf; ond un peth sydd yn ffaith amlwg, sef

fod pob cenedl sydd yma yn ymgymysgu a'u gilydd, trwy briodasau, yn colli eu tafodiaethau priodol yn raddol, a chyn llai na chan' mlynedd yn ymdoddi i mewn yn un genedl fawr—yn *Americaniaid.* Oni buasai yr ymfudiad parhaus o wledydd tramor yma, ni buasai yma yn awr ond *un* genedl, ac *un* iaith, sef y Saesonaeg; a chredwyf mai felly y bydd cyn pen dau gan' mlynedd eto. Mae braidd yn annichon i neb gadw eu cenedlgaredd (*nationality*), na'u hiaith gysefin yn bur, a'i siarad yn groywber, yn hir iawn yma; nid yw ein Llywodraeth yn gofalu dim am hyny, ac y mae holl lywodraeth, a masnach, ac ysgolion, a llysoedd y wlad yn cael eu dwyn yn mlaen yn yr iaith Saesonaeg; ac y mae y prif lyfrau a'r papyrau yn yr iaith hono. Dyna y gwir, ac ofer fyddai i neb geisio ei gelu. Er fod yma filoedd o Wyddelod ac Ellmyniaid, a Ffrancod, &c., *pabyddol,* a bod eu heglwysi yn lluosogi, a'u dylanwad yn fawr; a bod yma lawer o *anffyddwyr,* na pharchant Air Duw, na'i Sabbothau; y mae yma hefyd fwyafrif mawr o Brotestaniaid egwyddorol a selog; ac y mae y Presbyteriaid, a'r Wesleyaid, a'r Bedyddwyr, a'r Cynulleidfawyr, Saesnig, yn dra lluosog yma; a'u heglwysi, hathrofäau, a'u Cymdeithasau Beiblaidd, Cenhadol, a Thraithodol, yn goleuo ac yn bendithio yr holl wlad.

Mae llawer o ddyfalu, o siarad, ac o ysgrifenu, wedi bod, ac yn bod, er ceiso ateb y gofyniad, *Pa nifer yw y boblogaeth Gymreig yn yr Unol Dalaethau?* Un o'r gofyniadau mwyaf anhawdd i'w ateb yn gywir ydyw, am na chadwyd cofrestr gywir a chyflawn o ddyfodiad ein cenedl i mewn i'r wlad, ac na roddir cyfrifiad amlwg a chywir o honynt yn y *Census.* Clywais rai yn dyweyd, a gwelais ereill wedi ysgrifenu, fod *Cymry America* yn rhifo *tri chan' mil* (300,000). Dichon fod

hyny yn lled agos i'r gwir, os cymerir i mewn yr holl Ddisgynyddion Cymreig (*Welsh Descendants*) parchus, dysgedig, a chyfoethog, sydd yn lluosog a gwasgaredig yn yr holl dalaethau; ond sydd erioed heb ddysgu, neu wedi llwyr anghofio ein hiaith, ein llenyddiaeth, a'n defodion, &c. Mae yn anhawdd, yn awr, cael cyfrifiaeth gywir o'r rhai hyn, er mor werthfawr a dymunol fuasai hyny, gofynai flyneddau o amser, a miloedd o ddoleri o draul.

Yr wyf yn cynghori y *Welsh Descendants,* dysgedig a chyfoethog, i gasglu trysorfa eu hunain, er cyhoeddi y *fath hanes* buddiol a gwerthfawr. Dichon y gwnant rywbryd. Yr wyf yn synu na buasent wedi gwneyd cyn hyn. Dylem gael *Ychwanegiad* i "*Hanes Cymry* '76." Meddyliais unwaith am wneyd Cofrestriad o *Gymry America;* parotoais y llyfrau a'r *schedules;* gofynais gynorthwy fy nghenedl; treuliais lawer o fisoedd i gerdded o dy i dy i gofrestru yr enwau, &c.; ond am na bu ond ychydig yn ffyddlon i'm cynorthwyo i lenwi y *schedules,* a bod genyf lawer o ofalon pwysig ereill; ac y buasai yr amser a'r draul yn llawer gormod i mi fy hunan i allu ei wneyd a'i gyhoeddi, rhoddais y meddylddrych hwnw i fyny. Buasai cofresrtriad felly yn gywir a thra gwerthfawr. Gallasai Cymry pob ardal ei wneyd mewn diwrnod neu ddau, a'i anfon i mi; ond ni wnaeth ond ychydig o honynt. Amcan-*gyfrif* o'r boblogaeth Gymreig yn yr Unol Dalaethau, yw yr un ganlynol; a chredwyf ei bod yn lled gywir; ymgynghorais â'r hen sefydlwyr mwyaf cyfarwydd; cefais y nodau gan rai ereill; cyfrifwyd y *teuluoedd* mewn llawer o ardaloedd, gan eu lluosogi gyda phump; ac weithiau gorfu i mi ddyfalu y boblogaeth wrth rifedi yr eglwysi, a'r Ysgolion Sabbothol, a'r cynulleidfaoedd Cymreig yn yr ardaloedd. Mae rhifedi y *boblogaeth*

Gymreig, mewn manau, yn llawer mwy na rhifedi yr Ysgolion Sabbothol a'r cynulleidfaoedd Cymreig; ac y mae hyny yn ffaith yn y wlad hon, am fod llawer o Gymry a allant ddeall a siarad Cymraeg wedi ymuno â'r eglwysi *Saesnig;* a bod llawer iawn hefyd yn llwyr esgeuluso moddion gras! Y mae yr oll (ond y rhai na allant *siarad* Cymraeg) yn gynnwysedig yn y Rhestr ganlynol:—

RHESTR O'R HOLL BOBLOGAETH GYMREIG.

| | |
|---|---|
| 1. Pennsylvania | 32,974 |
| 2. New York | 21,840 |
| 3. Ohio | 24,810 |
| 4. Vermont | 1,350 |
| 5. New Jersey | 942 |
| 6. Maryland | 800 |
| 7. Rhandir Columbia | 50 |
| 8. Virginia | 100 |
| 9. West Virginia | 300 |
| 10. Tennessee | 200 |
| 11. Massachusetts | 500 |
| 12. Maine | 300 |
| 13. Indiana | 200 |
| 14. Illinois | 2,035 |
| 15. Michigan | 400 |
| 16. Wisconsin | 18,260 |
| 17. Minnesota | 1,745 |
| 18. Iowa | 2,265 |
| 19. Missouri | 2,195 |
| 20. Kansas | 1,750 |
| 21. Nebraska | 200 |
| 22. California | 2,000 |
| 23. Oregon, &c | 500 |
| Cyfanrif | 115,716 |

Yn ol y cyfrif uchod, mae yn yr Unol Dalaethau un cant a phymtheg o filoedd, a saith gant ac un-ar-bymtheg o Gymry yn deall, ac yn gallu siarad Cymraeg, oddieithr eu babanod a'u plant bychain, y rhai sydd yn gynnwysedig yn y cyfrif.

Sylwch eto ar y cyfrif uchod yn ei fanylion o bob sefydliad Cymreig yn y tu dalenau dilynol. Cyfanrifau y rhai hyny ydyw yr uchod. Wrth graffu yn fanwl arnynt, gwelir mai yn y dinasoedd mawrion, ac yn y gweithfeydd glo, y mae y boblogaeth Gymreig luosocaf, ac mai yr ardaloedd Cymreig amaethyddol cryfaf yw Steuben a Remsen, a Nelson, a Cattaraugus, yn N. Y.; ac Ebensburgh, a Dundaff, a Bradford, yn Pa.; a siroedd Jackson a Gallia, a Licking, ac Allen, a Van Wert, yn Ohio; a siroedd Columbia, Waukesha, a Jefferson, yn Wisconsin.

Wele isod yr un cyfrif wedi ei ddosparthu, er dangos nifer y Cymry yn y talaethau dwyreiniol, deheuol, a gorllewinol:—

**TALAETHAU DWYREINIOL.**

| | | |
|---|---|---|
| 1. | Pennsylvania | 32,974 |
| 2. | New York | 21,840 |
| 3. | Vermont | 1,350 |
| 4. | New Jersey | 942 |
| 5. | Massachusetts | 500 |
| 6. | Maine | 300 |
| | | 57,906 |

**TALAETHAU DEHEUOL.**

| | | |
|---|---|---|
| 1. | Maryland | 800 |
| 2. | Rhandir Columbia | 50 |
| 3. | Virginia | 100 |
| 4. | West Virginia | 300 |
| 5. | Tennessee | 200 |
| | | 1,450 |

**TALAETHAU GORLLEWINOL.**

| | | |
|---|---|---|
| 1. | Ohio | 24,810 |
| 2. | Indiana | 200 |
| 3. | Illinois | 2,035 |
| 4. | Michigan | 400 |
| 5. | Wisconsin | 18,260 |
| 6. | Minnesota | 1,745 |
| 7. | Iowa | 2,265 |
| 8. | Missouri | 2,195 |
| 9. | Kansas | 1,750 |
| 10. | Nebraska | 200 |
| 11. | California | 2,000 |
| 12. | Oregon, &c | 500 |
| | | 56,360 |

Wele, eto, ddosraniad manylach o'r boblogaeth Gymreig yn y gwahanol dalaethau:—

## 1. Pennsylvania.

| | | |
|---|---|---|
| 1. | Ebensburgh | 1,500 |
| 2. | Johnstown | 1,500 |
| 3. | Pittsburgh, &c | 3,000 |
| 4. | Brady's Bend | 100 |
| 5. | Lochiel | 100 |
| 6. | Columbia | 150 |
| 7. | Reading | 50 |
| 8. | Pottsville | 800 |
| 9. | St. Clairs | 600 |
| 10. | Five Points | 150 |
| 11. | Minersville | 1,500 |
| 12. | Tamaqua | 200 |
| 13. | Ashland | 1,200 |
| 14. | Mahanoy | 1,000 |
| 15. | Shenandoah | 600 |
| 16. | Centralia | 100 |
| 17. | Mount Carmel | 200 |
| 18. | Shamokin | 300 |
| 19. | Broad Top | — |
| 20. | Slate Hill | 600 |
| 21. | Slatington | 1,000 |
| 22. | Danielsville | 200 |
| 23. | Chapmansville, &c | 200 |
| 24. | Catasauqua | 300 |
| 25. | Summit Hill | 1,200 |
| 26. | Meadows | 200 |
| 27. | Janesville, &c | 200 |
| 28. | Audenried | 300 |
| 29. | Hazleton, Jeddo, &c | 400 |
| 30. | Danville | 500 |
| 31. | Plymouth | 1,200 |
| 32. | Wilkesbarre, &c | 1,500 |
| 33. | Kingston | 274 |
| 34. | Laurel Run | 200 |
| 35. | Mill Creek | 300 |
| 36. | Pittston | 1,000 |
| 37. | Hyde Park, &c | 5,000 |
| 38. | Bellevue | 1,000 |
| 39. | Providence | 1,500 |
| 40. | Olyphant | 400 |
| 41. | Beachwood | 200 |
| 42. | Rushdale | 200 |
| 43. | Carbondale | 800 |
| 44. | Dundaff | 400 |
| 45. | Gibson | 50 |
| 46. | Bradford Co | 300 |
| 47. | Tioga Co | 600 |
| | Cyfanrif | 32,974 |

## 2. New York.

| | | |
|---|---|---|
| 1. | Dinas New York, &c | 9,000 |
| 2. | Albany | 200 |
| 3. | Utica, &c | 3,000 |
| 4. | Salem, Marcy, &c | 350 |
| 5. | Bethania, &c | 160 |
| 6. | New York Mills | 300 |
| 7. | Oriskany | 150 |
| 8. | Rome | 400 |
| 9. | Floyd | 350 |
| 10. | Quaker Hill | 80 |
| 11. | Holland Patent | 250 |
| 12. | Trenton | 200 |
| 13. | Prospect | 300 |
| 14. | Steuben (plwyf) | 1,000 |
| 15. | Remsen (plwyf) | 2,000 |
| 16. | Waterville, &c | 350 |
| 17. | Otsego Co | 500 |
| 18. | Herkimer | 200 |
| 19. | Lewis Co | 1,000 |
| 20. | St. Lawrence Co | 250 |
| 21. | Madison Co | 800 |
| 22. | Cattaraugus Co | 1,000 |
| | Cyfanrif | 21,840 |

## 3. Ohio.

| | | | |
|---|---|---|---|
| 1. Paddy's Run | 800 | 20. Cleveland | 400 |
| 2. Cincinnati, &c | 2,000 | 21. Newburgh | 600 |
| 3. Columbus, &c | 800 | 22. Bedford | 250 |
| 4. Brown Township | 200 | 23. Mineral Ridge, &c | 500 |
| 5. Newark | 1,000 | 24. Niles | 300 |
| 6. Granville | 500 | 25. Youngstown | 800 |
| 7. Welsh Hills | 200 | 26. Crab Creek | 250 |
| 8. Delaware | 150 | 27. Church Hill | 300 |
| 9. Radnor | 600 | 28. Hubbard | 900 |
| 10. Troedrhiwdalar | 200 | 29. Coalburgh | 300 |
| 11. Gomer | 1,200 | 30. Brookfield | 900 |
| 12. Van Wert | 800 | 31. Sharon, Pa., &c | 300 |
| 13. Putnam Co | 400 | 32. Pomeroy, &c | 1,500 |
| 14. Palmyra | 300 | 33. Ironton | 500 |
| 15. Parisville | 400 | 34. Portsmouth | 300 |
| 16. Talmadge | 200 | 35. Jackson a Gallia | 6,000 |
| 17. Springfield, &c | 300 | | |
| 18. Alliance | 400 | Cyfanrif | 24,810 |
| 19. Irondale | 250 | | |

## 4. Vermont.

| | | | |
|---|---|---|---|
| 1. Fairhaven<br>2. Blissville | 500 | 5. Salem | 50 |
| 3. Middle Granville | 600 | Cyfanrif | 1,350 |
| 4. Jamesville, &c | 200 | | |

## 5. New Jersey.

| | | | |
|---|---|---|---|
| 1. Jersey City | 500 | 6. Camden | 50 |
| 2. Hoboken | 50 | 7. Slateford | 50 |
| 3. Englewood | 25 | 8. Dover | 117 |
| 4. Newark | 100 | | |
| 5. Elizabeth | 50 | Cyfanrif | 942 |

## 6. Maryland.

1. Baltimore, &c...... 400 2. Alleghany, Co....... 400 Cyfanrif....... 800

| | | |
|---|---|---|
| 7. Rhandir Columbia | 50 | Dinas Washington, &c. |
| 8. Virginia | 100 | Richmond, &c. |
| 9. West Virginia | 300 | Wheeling, Mason City, Cliffton, &c. |
| 10. Tennessee | 200 | Knoxville, Coal Creek, &c. |
| 11. Massachusetts | 500 | Boston, Quincy, &c. |
| 12. Maine | 300 | Portland, Brownsville, &c. |
| 13. Indiana | 200 | |
| 14. Michigan | 400 | |

## 15. Illinois.

| | | | |
|---|---|---|---|
| 1. Chicago | 700 | 5. Braceville | 200 |
| 2. Bridgeport | 120 | 6. Manau ereill | 400 |
| 3. Big Rock | 365 | | |
| 4. Coal Valley | 250 | Cyfanrif | 2,035 |

## 16. Wisconsin.

| | | | |
|---|---|---|---|
| 1. Racine, &c | 2,500 | 13. Emmett | 100 |
| 2. Milwaukee, &c | 1,000 | 14. Ixonia | 400 |
| 3. Waukesha, &c | 3,000 | 15. Oshkosh | 600 |
| 4. Madison, &c | 100 | 16. Rosendale, &c | 800 |
| 5. Arena | 60 | 17. Neenah | 200 |
| 6. Spring Green | 225 | 18. Berlin | 300 |
| 7. Dodgeville, &c | 800 | 19. Columbia Co., &c | 5,000 |
| 8. Y Coed | 200 | 20. La Crosse Co | 1,025 |
| 9. Ridgeway | 300 | 21. Glendale | 50 |
| 10. Blue Mounds | 300 | | |
| 11. Picatonica, &c | 900 | Cyfanrif | 18,260 |
| 12. Watertown | 400 | | |

## 17. Minnesota.

1. Blue Earth Co...1,500 2. Le Sueur Co...145 Gwasgaredig...100
Cyfanrif....1,745

## 18. Iowa.

| | | | |
|---|---|---|---|
| 1. Old Man's Creek | 300 | 10. Monroe | 100 |
| 2. Williamsburgh | 350 | 11. Burlington | 20 |
| 3. Welsh Prairie | 110 | 12. Davenport | 20 |
| 4. Marengo | 30 | 13. Dubuque | 30 |
| 5. Long Creek | 300 | 14. Lime Spring | 500 |
| 6. Flint Creek | 120 | 15. Clay Co | 50 |
| 7. Oskaloosa | 30 | 16. Red Oak | 40 |
| 8. Do. Junction | 215 | | |
| 9. Given | 50 | Cyfanrif | 2,265 |

## 19. Missouri.

| | | | |
|---|---|---|---|
| 1. St. Louis | 500 | 5. Chillicothe | 30 |
| 2. New Cambria | 665 | 6. Dawn | 425 |
| 3. Bevier, &c | 525 | | |
| 4. Brookfield | 50 | Cyfanrif | 2,195 |

## 20. Kansas.

| | | | |
|---|---|---|---|
| 1. Emporia, &c | 600 | 7. Lawrence | 50 |
| 2. Arvonia | 400 | 8. Leavenworth | 100 |
| 3. Reading | 100 | 9. Powys | 300 |
| 4. Topeka | 50 | | |
| 5. Carbondale | 100 | Cyfanrif | 1,750 |
| 6. Burlingame | 50 | | |

21. Nebraska....200 Nemaha Co., &c.

## 22. California—2,000.

San Francisco, Sacramento, a siroedd Sierra, Nevada, ac Yuba—Gold Mines.

23. Oregon, &c....500 Oregon a'r Tiriogaethau.

### ADSYLWADAU AR Y BOBLOGAETH GYMREIG.

Mae y pethau canlynol yn ffeithiau amlwg i bob un a dalodd ymweliad personol â'r sefydliadau Cymreig yn yr Unol Dalaethau, neu a ddarllenodd eu hanes,

ac a sylwodd yn fanwl ar y taflenau yn y tudalenau blaenorol:—

1. Fod dros ddau gant o *sefydliadau* Cymreig yn y wlad hon.

2. Eu bod yn dra gwasgaredig. Nid yw pellder trefydd ac ardaloedd Cymru ond ychydig filldirau oddiwrth eu gilydd; a gellir myned o Fon i Fynwy mewn ychydig oriau gyda y reilffyrdd. Ond y mae y sefydliadau Cymreig yn America ganoedd a miloedd o filldiroedd oddiwrth eu gilydd; yn wasgaredig eisoes mewn dros 23 o dalaethau mawrion, a'r rhan fwyaf o'r talaethau hyny yn gymaint ddengwaith a holl Dywysogaeth Cymru. Ymdaenant o'r dwyrain i'r gorllewin, neu o lanau y Werydd i lanau y Tawelfor am dros dair mil o filldiroedd; ac o'r gogledd i'r de, neu o'r Llynoedd mawrion hyd derfynau Mexico, am dros bymtheg cant o filldirau. Mae canoedd o filldiroedd rhwng rhai o'r sefydliadau Cymreig a'u gilydd, hyd yn nod o fewn yr un dalaeth. Ond mewn rhai *siroedd*, megys Oneida, N. Y.; Jackson, a Gallia, a'r *Western Reserve*, yn Ohio; a Waukesha, a Columbia, yn Wisconsin, &c., mae amrai o honynt yn lled agos at eu gilydd. Nis gall neb dalu ymweliad manwl â'r holl sefydliadau Cymreig yma, heb lawer iawn o amser, a llawer iawn o draul; gofyna flwyddyn neu ddwy o amser.

3. Mae y sefydliadau a'r boblogaeth Gymreig, yn y wlad hon, wedi cynyddu yn ddirfawr yn yspaid yr haner can' mlynedd diweddaf; cyn hyny nid oeddynt ond ychydig o rifedi yn nhalaethau Pennsylvania, New York, ac Ohio, yn unig.

4. Nid yw y boblogaeth Gymreig eto, yn America, ond bechan iawn mewn cymhariaeth â phoblogaeth cenhedloedd ereill yn y wlad, sef yr Americaniaid, y Gwyddelod, yr Ellmyniaid, y Ffrancod, a'r Saeson, &c., ac nid ydyw ond *un ran* o 332 o holl boblogaeth y Weriniaeth.

5. Nid yw y sefydliadau Cymreig ond rhai bychain yn mhob lle, oddieithr mewn rhai ardaloedd amaethyddol, ac yn y gweithfeydd glo; nid oes genym un

dref na dinas *Gymreig* (y gellir yn briodol ei galw felly) yn yr holl wlad; oblegid cenhedloedd *ereill* sydd wedi adeiladu ein trefydd a'n dinasoedd, a hwynt-hwy yw prif fasnachwyr y wlad; mae genym amrai o Gymry, mae yn wir, yn fasnachwyr cyfrifol a chyfoethog yn y prif ddinasoedd, ac mewn rhai o'n pentrefydd. Tyddynwyr, llafurwyr, crefftwyr, a mwnwyr, yw y mwyafrif mawr o Gymry America; gweithiant yn galed er enill eu bywioliaeth eu hunain a'u teuluoedd; ac er cyfoethogi masnachwyr o genhedloedd ereill. Fel y mae y Cymry yn cael addysg a manteision y wlad hon, cynyddant ein masnachwyr Cymreig.

6. Yn yr *hen* sefydliadau Cymreig, mae *plant* yr hen sefydlwyr, bron yn ddieithriad, yn hollol ddifater am siarad, a darllen, ac ysgrifenu, yr *iaith Gymraeg;* llawer o honynt yn analluog i wneyd hyny. Gyda y drydedd a'r bedwaredd genhedlaeth, llwyr gollir yr iaith ardderchog yn y sefydliadau yma. Parhad ymfudiad o Gymru sydd yn ei chadw yn fyw.

7. Mae y boblogaeth Gymreig hefyd yn *lleihau* yn raddol yn yr holl hen sefydliadau; a'r rheswm dros hyny yw, am fod y tiroedd oll wedi eu prynu a'u sefydlu; am fod eu prisiau yn uchel iawn; am fod ymfudiad o'r Hen Wlad i'r sefydliadau hyny wedi darfod; am fod yr hen bobl yn meirw; am fod llawer o'u plant yn symud i'r gorllewin a'r de; ac am fod rhai yn cysylltu maes wrth faes.

8. Yn y sefydliadau *newyddion* y mae yr iaith Gymraeg yn cael ei siarad amlaf a chroywaf, a siaredir hi felly ynddynt am o ugain i ddeugain mlynedd; ond yn mhob sefydliad Cymreig, bron, trwy yr holl wlad, clywir y Cymry a'u plant yn ceisio siarad Saesonaeg yn eu teuluoedd. SAESONAEG yw *iaith y wlad;* ac y mae yn angenrheidiol i ni a'n plant allu ei deall, ei siarad, a'i darllen, a'i hysgrifenu, cyn y gallwn deimlo yn ddedwydd, a llwyddo, a chael dylanwad a pharch, yma. Mae llawer o blant y Cymry fel yn *ymddyrysu* rhwng dwy iaith; ac y mae hyny yn anfanteisiol iawn i'w cynydd a'u llwyddiant. Yn hyn, y mae llawer o'r sefydliadau Cymreig yn y wlad hon, yn debyg iawn i

ororau Lloegr a Chymru, lle y mae y ddwy genedl yn ymgymysgu, a'r ddwy iaith yn cael eu siarad yn annghywir, ac yn gymysgedig weithiau. Diau fod rhyw achos o hyny. Ond y mae yn wir boenus i galon, ac i glust, a theimlad, pob Cymro *uniaith* a ddaw yma o Gymru, yn enwedig o Fon ac Arfon.

9. Yn y dyfodol, y mae y boblogaeth Gymreig yn rhwym o gynyddu mwy yn y *gorllewin* a'r *de* nag yn y dwyrain, oddieithr yn y dinasoedd mawrion a'r gweithfeydd glo a haiarn. Nis gall neb yn awr gael tiroedd rhad yn y talaethau dwyreiniol.

## PENNOD II.

### YR ENWADAU CREFYDDOL CYMREIG.

Mae Cymry America, yn gystal a Chymry yr Hen Wlad, dan rwymau tragywyddol i'r Nef, am eu bendithio mor nodedig â dylanwad llesol y gwahanol enwadau crefyddol uniawn-gred, sef y Trefnyddion Calfinaidd, yr Annibynwyr, y Bedyddwyr, a'r Wesleyaid; y bobl sydd yn mawrhau y gwir Dduw, a'i Air Santaidd, a'i Sabbothau; yn credu yn Nuwdod ac aberth iawnol yr Eneiniog Waredwr, fel eu hunig sylfaen am faddeuant pechodau; yn cymeryd y Beibl fel unig a digonol Reol Ddwyfol eu ffydd a'u hymarweddiad; yn ymddibynu ar ddylanwadau achubol a grasol yr Ysbryd Glân, er cynyddu y dyn newydd o'u mewn, eu nerthu i farweiddio pechod, ac i ymarweddu yn santaidd; ac sydd yn cydymdrechu er lledaenu a dysgu Cristionogaeth bur y Testament Newydd, gwrthwynebu holl bechodau y wlad a'r oes, amddiffyn iawnderau Duw a dyn, achub eneidiau, a gogoneddu y Drindod anfeidrol. Er maint yw ffaeleddau pobl yr Arglwydd, ac er cymaint a wawdir ac a ddirmygir ar genhadon Iesu, a ffyddloniaid Seion, hwynt-hwy, er hyny, yw anwyliaid y Nef, halen y ddaiar, a goleuni y byd; hebddynt hwy, a'u Duw, a'i Air, a'i achos, buasai y byd yn anialwch gwag erchyll, a'r holl genhedloedd yn gaethion truenus i anwybodaeth, llygredigaeth, a phechod, ac yn marw yn eu hannuwioldeb heb obaith am fywyd tragywyddol. Gallasai cyfoeth, a dysg, a dylanwad, godi Cymry America i sefyllfaoedd gwladol uchel ac urddasol; ond nis gallasai dim ond Beiblau eu mamau duwiol, a chrefydd efengylaidd eu tadau diniwaid a phuredig,

ac Ysgolion Sabbothol eu hathrawon ffyddlon, a phwlpudau eu gweinidogion goleuedig a difrifol, ddyrchafu eu cymeriad mor uchel, a rhoddi iddynt ddylanwad mor fawr yn y wlad, a'u gwneyd mor ysbrydol a nefol ddedwydd; mae Cristionogaeth yn eu cymhwyso i fod yn ddedwydd a defnyddiol yn y byd hwn, ac yn y byd a ddaw. Dyrchafodd Duw ein cenedl yn America hyd y nefoedd, â breintiau crefyddol; ac yr wyf yn gobeithio na bydd i un Cymro na Chymraes, yn y wlad hon, gael eu tynu i lawr hyd yn uffern, oblegid eu diofalwch a'u hesgeulusdra o'r fath ragorfreintiau annhraethol werthfawr. Cadwyd ni, fel cenedl, yn rhyfedd hyd yma rhag pabyddiaeth ac anffyddiaeth; a'm gweddi ar Dduw ydyw, na byddo iddynt byth gael dylanwad ar neb o'r Cymry.

Darperais y Tafleni canlynol mor gywir ag oedd yn ddichonadwy i mi, yn ol y manteision a gefais i wybod y gwirionedd am gyfrifiaeth y gwahanol enwadau crefyddol yn y wlad fawr hon; cefais lawer o gynorthwy i'w gwneyd, ar fy ymweliadau personol, a thrwy lythyrau, gan weinidogion a diaconiaid parchus a chyfrifol; trwy sylwi ar y cyfrifon yn "*Nyddiadur y Trefnyddion Calfinaidd yn y Talaethau Unedig am y fl.* 1871;" a thrwy amrywiol foddau ereill. Gwnaethum hwynt yn hollol ddiduedd, fel y dylaswn eu gwneuthur, am fod genyf wir barch i'r holl enwadau; ac yr wyf yn llawenychu yn eu llwyddiant. Ni wyr neb, ond taflenwyr, fod gwneyd y fath dafleni yn gofyn cymaint o amser, llafur, a thraul; a pha mor werthfawr ydynt, ar ol eu gwneyd, er agor a goleuo meddyliau dynion. Cynnwysant lawer o ffeithiau, a llefarant gyfrolau. Annichon oedd i mi, ac a fuasai i neb arall, eu gwneyd yn hollol berffaith; ond credwyf eu bod yn werthfawr, ac y rhoddant foddlonrwydd cyffredinol. Yr wyf yn

ddiolchgar am bob cynorthwy a gefais i'w gwneuthur; ac yn dymuno cydymdeimlad fy nghenedl, am bob gwall anfwriadol a all fod ynddynt.

### 1. Y TREFNYDDION CALFINAIDD.

| TALAETHAU. | Eglwysi. | Diaconiaid. | Gweinidogion. | Pregethwyr. | Aelodau Cyflawn. | Ar Brawf, a Phlant. | Ysgol Sabbothol. | Gwrandawyr. | Casgliadau Blyneddol at y Weinidogaeth. | Casgliadau at Wahanol Achosion. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 1. Pennsylvania...... | 24 | 56 | 15 | 11 | 1,411 | 894 | 1,853 | 2,850 | $9,893 | $11,718 |
| 2. New York............ | 24 | 51 | 12 | 5 | 1,132 | 382 | 995 | 2,500 | 5,780 | 2,539 |
| 3. Vermont.............. | 4 | 12 | 2 | 2 | 242 | 260 | 388 | 500 | 1,858 | 294 |
| 4. Ohio ... ............... | 30 | 83 | 16 | 10 | 1,997 | 1,510 | 2,916 | 6,350 | 576 | 6,704 |
| 5. Wisconsin............ | 47 | 110 | 25 | 11 | 2,359 | 1,848 | 3,380 | 6,100 | 9,511 | 9,711 |
| 6. Illinois................ | 2 | 3 | 1 | 1 | 136 | 41 | 120 | 300 | 1,026 | 1,002 |
| 7. Iowa ............ | 4 | 11 | 5 | 2 | 195 | 153 | 222 | 400 | 398 | 189 |
| 8. Minnesota ..... ..... | 11 | 27 | 8 | 3 | 423 | 171 | 443 | 900 | 1,622 | 324 |
| 9. Missouri.............. | 4 | 8 | 3 | 1 | 147 | 89 | 188 | 300 | ........ | ....... |
| 10. Kansas............... | 2 | 4 | 1 | 2 | ...... | ...... | ...... | .. | ........ | ....... |
| Cyfanrif ........... | 152 | 365 | 88 | 48 | 8,042 | 5,348 | 10,505 | 20,200 | $39,664 | $32,481 |

Mae wyth o eglwysi, a chwech o weinidogion y *Presbyteriaid* Cymreig yn Minnesota a Missouri yn gynnwysedig yn yr uchod. Yn y cyfanswm o $32,481, cyfranwyd $2,802 at y Beibl Gymdeithas; $1,430 at yr achos Cenhadol; a'r gweddill, $28,481, at dalu dyled capelau, &c. Yn y cyfanswm o $2,802 a roddwyd at y Beibl Gymdeithas, cyfranodd Dosparth Jackson Co., Ohio, $1.450. Dyma esiampl deilwng i'w hefelychu gan yr holl enwadau crefyddol ereill. "*Gair Duw yn benaf.*"

### 2. YR ANNIBYNWYR.

| TALAETHAU. | Eglwysi. | Diaconiaid. | Gweinidogion. | Pregethwyr. | Aelodau. | Ysgol Sabbothol. | Yr oll o'r Gwrandawyr. | Casgliadau Blyneddol at y Weinidogaeth. | Casgliadau Blyneddol Ereill. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 1. Pennsylvania............. | 43 | 97 | 28 | 14 | 3,210 | 4,070 | 7,290 | $19,300 | $19,830 |
| 2. New York ............... | 23 | 63 | 16 | 4 | 1,209 | 1,055 | 2,778 | 5,000 | 3,360 |
| 3. Vermont, &c ............. | 2 | 6 | 1 | .. | 85 | 150 | 250 | 800 | 600 |
| 4. Ohio ....................... | 40 | 88 | 30 | 9 | 2,490 | 2,950 | 5,940 | 16,850 | 5,800 |
| 5. Wisconsin................. | 23 | 46 | 10 | 2 | 895 | 1,083 | 2,180 | 6,350 | 8,860 |
| 6. Illinois ................... | 4 | 12 | 2 | .. | 103 | 180 | 345 | 1,000 | 350 |
| 7. Iowa........................ | 7 | 15 | 8 | 2 | 422 | 455 | 880 | 2,900 | 5,350 |
| 8. Minnesota................ | 3 | 6 | 3 | .. | 50 | 70 | 110 | 500 | 100 |
| 9. Missouri ................. | 4 | 13 | 5 | .. | 248 | 193 | 295 | 1,500 | 1,000 |
| 10. Kansas..................... | 5 | 11 | 5 | 1 | 245 | 200 | 660 | 1,200 | 500 |
| Cyfanrif ................. | 154 | 357 | 108 | 32 | 9,057 | 10,506 | 30,828 | $58,400 | $45,750 |

Mae gan yr Annibynwyr 154 o eglwysi, a 108 o weinidogion sefydlog yn y Talaethau Unedig; ac ymddengys eu bod yn rhoddi $540 o gyflog blyneddol i'w gweinidogion ar gyfartaledd. Mae ychydig yn cael o $1,000 i $1,500, a'r mwyafrif yn cael o $400 i $600, a rhai yn cael o $300 i $400. Yn y cyfanswm o $45,750, mae y rhan fwyaf wedi eu cyfranu at dalu dyledion eu capelau; a'r gweddill at y Cymdeithasau Crefyddol, &c., &c.

### 3. Y Bedyddwyr.

| Talaethau. | Eglwysi | Diaconiaid. | Gweinidogion. | Pregethwyr. | Aelodau. | Ysgolion Sabbothol. | Gwrandawyr. | Casgliadau Blyneddol at y Weinidogaeth. | Casgliadau at Wahanol Achosion. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 1. Pennsylvania.................. | 35 | 79 | 24 | 14 | 2,235 | 2,875 | 5,045 | $15,500 | $7,075 |
| 2. New York ..................... | 7 | 14 | 5 | .. | 390 | 430 | 880 | 2,700 | 700 |
| 3. Ohio.......................... | 18 | 36 | 9 | 7 | 845 | 1,100 | 1,900 | 6,300 | 1,750 |
| 4. Wisconsin .................... | 11 | 18 | 9 | 2 | 369 | 440 | 770 | 2,800 | 1,050 |
| Cyfanrif...................... | 71 | 147 | 47 | 23 | 3,829 | 4,845 | 8,595 | $27,300 | $11,175 |

Mae gan y Bedyddwyr un eglwys arall yn Coal Valley, Illinois; ond nid oes ganddynt eglwysi yn Vermont, Iowa, Minnesota, Missouri, a Kansas.

### 4. Y Wesleyaid.

| Talaethau. | Eglwysi. | Diaconiaid. | Gweinidogion. | Pregethwyr. | Aelodau. | Ysgolion Sabbothol. | Gwrandawyr. | Casgliadau Blyneddol at y Weinidogaeth. | Casgliadau at Wahanol Achosion. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 1. New York...................... | 5 | 12 | 5 | .. | 160 | 215 | 300 | $810 | $500 |
| 2. Wisconsin..................... | 2 | 4 | 2 | .. | 72 | 90 | 130 | 500 | $200 |
| 3. Ereill......................... | .. | .. | 5 | 1 | ... | .... | .... | ...... | ...... |
| Cyfanrif...................... | 7 | 16 | 12 | 1 | 232 | 305 | 430 | $1,310 | $700 |

Bu eglwysi gan y Wesleyaid yn ninas New York, ac yn Johnstown, Pa., ac yn Ironton, Ohio; ond diflanasant. Mae rhai o'u gweinidogion wedi troi at y Wesleyaid Saesnig, ac ereill wedi ymuno â'r Annibynwyr, ac ereill.

## 5. Yr Eglwysi Unol.

Mae amrai o eglwysi Cymreig *unol* (o wahanol enwadau) yn y wlad hon; megys yr eglwys sydd yn Fairhaven, Rutland Co., Vermont, dan ofal y Parch. R. L. Herbert, yr hon sydd gymysgedig o Annibynwyr a Wesleyaid; a'r eglwysi yn Portland, Maine; Baltimore, a Frostburgh, Maryland; ac yn Columbia, Harrisburgh, a Reading, a Catasauqua, Pa.; ac yn Bridgeport, Illinois; ac yn California, &c. Maent yn uno â'u gilydd am eu bod yn rhy weiniaid i fod yn wahanol eglwysi. Y maent yn ymddwyn yn ddoeth iawn; ac y mae rhai o honynt yn cydweithredu yn anwyl ac egniol; ond ereill yn meddu gormod o ysbryd sectol. O na fyddai pawb yn fwy unol fel *Cristionogion Beiblaidd.* Mae ychydig o'r Bedyddwyr yn rhydd-gymunwyr.

## 6. Eglwysi Esgobyddol.

Ceisiwyd sefydlu eglwysi Esgobyddol (tebyg i Eglwys Loegr) mewn manau yn y wlad hon; yn y Dyffryn Mawr, ger Philadelphia; ac yn Waterville, Oneida Co., N. Y.; ac yn Centerville, Gallia Co., Ohio; ond diflanasant; er eu bod yn ceisio gweithredu ar yr egwyddor wirfoddol. Yr oedd rhaid iddynt wneyd felly, am nad oes neb yn gorfod talu degwm yn y wlad ardderchog rydd hon.

## 7. Eglwysi y Crynwyr (*Quakers*).

Bu gan y Crynwyr *Cymreig* lawer o eglwysi oddeutu Philadelphia; ond nid oes yr un o honynt yn arfer yr iaith Gymraeg er ys blyneddau.

## Cyfanrif yr Enwadau Crefyddol Cymreig.

| Enwadau. | Eglwysi. | Diaconiaid. | Gweinidogion. | Pregethwyr. | Aelodau. | Ysgol Sabbothol. | Gwrandawyr. | Casgliadau Blyneddol at y Weinidogaeth. | Casgliadau Blyneddol at Achosion ereill. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Trefnyddion Calfinaiddd... | 152 | 365 | 88 | 48 | 8.042 | 10,505 | 20,200 | $39.664 | $32,481 |
| Annibynwyr ................ | 154 | 357 | 108 | 32 | 9,057 | 10,506 | 20,828 | 58,400 | 45,750 |
| Bedyddwyr ................ | 71 | 147 | 47 | 23 | 3,829 | 4,845 | 8,595 | 27,300 | 11,175 |
| Wesleyaid ................ | 7 | 16 | 12 | 1 | 232 | 305 | 430 | 1,310 | 700 |
| Cyfanrif ............ | 384 | 885 | 255 | 104 | 21,160 | 26,161 | 50,053 | $126,674 | $90,106 |

Mae 384 o eglwysi Cymreig yn 'yr Unol Dalaethau; 885 o ddiaconiaid; 255 o weinidogion urddedig; 104 o bregethwyr; 21,160 o aelodau cyflawn; 26,161 o bobl a phlant yn yr ysgolion Sabbothol; 50,058 o wrandawyr yn yr holl gynulleidfaoedd; $126,674 yn cael eu cyfranu yn wirfoddol a blyneddol (1870) at y weinidogaeth sefydlog ac achlysurol; a 90,106 wedi eu cyfranu at wahanol achosion ereill, megys talu dyledion addoldai, cynorthwyo y Cymdeithasau Crefyddol, &c.

### GWEINIDOGION A PHREGETHWYR YR ENWADAU.

Ymddengys fod 255 o weinidogion, a 104 o bregethwyr gan y gwahanol enwadau crefyddol yn yr Unol Dalaethau Amerigol. Dros dri chant a haner (359) o genhadon hedd yn cyhoeddi yr efengyl yn yr iaith Gymraeg rhwng y Werydd a'r Tawelfor! Ymdrechaf roddi rhestrau o enwau a phreswylfeydd llawer o honynt.

### 1. Gweinidogion a Phregethwyr y Trefnyddion Calfinaidd.

#### TALAETH NEW YORK

*Gweinidogion.*

Edward Rees, Remsen.
Thomas Williams, Remsen.*
T. T. Evans, Holland Patent.
Howell Powell, New York.*
Richard Isaac, Collinsville.
John D. Jones, Remsen.
Ebenezer T. Jones, Madison.
Thomas Jenkins, Utica.
John H. Jones, Rome.
R. F. Jones, Cattaraugus.*
James Jarrett, Utica.*

*Pregethwyr.*

Evan Morris, Penycaerau.
William A. Jones, Utica.
Thomas Thomas, Utica.
T. H. Griffiths, Plainfield.

#### TALAETH NEW JERSEY.

Parch. John Adams, Dover, Morris Co.

* Bugeiliaid,

### TALAETH VERMONT.

*Gweinidogion.*

R. V. Griffiths, Fairhaven.*
H. Davies, Middle Granville.*

*Pregethwyr.*

E. D. Humphreys, Fairhaven.
Joseph Roberts, Salem.

### TALAETH PENNSYLVANIA.

*Gweinidogion.*

Joseph E. Davies, Hyde Park.
M. A. Ellis, Hyde Park.*
W. Roberts, D. D., Bellevue.*
B. D. Davies, Bellevue.
E. J. Hughes, Wilkesbarre.*
T. J. Phillips, Plymouth.
W. J. Lewis, Plymouth.
W. Mathews, Beechwoods.
J. L. Jeffreys, Slatington.*†
E. F. Jones, West Bangor.*
W. R. Thomas, Minersville.
T. C. Davies, Pittsburgh.*
R. H. Evans, Johnstown.*
W. Harrison, Ebensburgh.*

*Pregethwyr.*

L. S. Jones, Wilkesbarre.
W. D. Jenkins, "
W. H. Williams, "
W. E. Morgan. Bellevue.
John M. Evans, Newport.
W. C. Roberts, West Bangor.
John Griffiths, Danielsville.
E. C. Evans, Shenandoah City.
John V. Williams, Johnstown.
John R. R. Jones, Slatington.
J. R. Jones, Shenandoah City.

†Symudodd y Parch. J. L. Jeffreys i Alliance, Ohio.

### TALAETH OHIO.

*Gweinidogion.*

Robert Williams, Moriah.
J. W. Evans, Oak Hill.
Evan S. Jones, Centreville.
Isaac Blackwell, Coalport.*
William Parry, Granville.
E. T. Evans, Newark.
Hugh Pugh, Putnam.*
T. R. Jones, Alliance.*
David Harries, Columbus.*
John Moses, Newark.
Thomas Roberts, Newark.*
J. P. Morgan, Van Wert.*
Owen Evans, Cincinnati.*
Ebenezer Evans, Newburgh.

*Pregethwyr.*

David J. Jenkins, Horeb.
J. Rhydderch, Bethania.
J. M. Jones, Bethesda.
William Rees, Ironton.
Eleazer Evans, Coalport.
E. R. Jones, Columbus.
W. D. Evans, Columbus.
Thomas Lawrence, Putnam.
John Mathews, Weathersfield.

### TALAETH ILLINOIS.

David Williams, Chicago ; Moses Williams, Chicago.

### TALAETH WISCONSIN.

*Gweinidogion.*

W. J. Jones, Carmel, W. P.
John H. Evans, Salem.
Wm. Hughes, Racine.*
D. R. Williams, La Crosse.
J. J. Roberts, Columbus.*
David Lewis, Dodgeville.*
John E. Williams, Peniel.*
Owen Hughes, Waterville.
John Williams, Salem.*
David Pugh, Rock Hill.
W. Machno Jones, Cambria.

Thomas Phillips, Caledonia.
Thomas Foulkes, Bethesda.*
John Davies, Picatonica.*
T. Roberts, Proscairon.*
Rees Evans, Cambria.*
John R. Daniels, Engedi.*
Griffith Jones, Picatonica.
Daniel Jenkins, Waukesha.
R. Griffiths, Bethel, Columbus.
Thomas J. Rice, Bangor.
Hugh Roberts, Soar.
Thomas Hughes, Columbus.

*Pregethwyr.*

Humphrey Howell, Racine.
Robert Williams, Waukesha.
David Jones, Lake Emley.
John K. Roberts, Oshkosh.
David Hughes, Bangor.
Morris Jones, Cambria.
Edward Jones, Waukesha.
William Roberts, Cambria.
Richard Davies, Pine River.
D. F. Jones, Bangor.
Edward Jones, Blue Mounds.

TALAETH IOWA.

*Gweinidogion.*

Eben. Salisbury, W. Prairie.
Griffith Roberts, Long Creek.
J. D. Williams Lime Spring.
John J. Evans, "
Owen R. Morris, Lime Spring.
D. T. Rowlands "

*Pregethwyr.*

Richard Jones, Williamsburgh.
James Thomas, "

TALAETH MINNESOTA.

*Gweinidogion (T. C).*

Richard W. Jones, Judson.
William Roberts, "
Wm. M. Jones, "
David M. Jones, Horeb.
Richard Hughes, Le Sueur Co.

*Gweinidogion (Presbyteriaid).*

Joseph Rees, Judson P. O.
D. Lewis, S. Bend (Bu farw).
Richd. G. Jones, Le Sueur Co.

*Pregethwyr (T. C).*

Edward Thomas, South Bend.
John Roberts, Judson.
Joseph Hughes.

TALAETH MISSOURI.

*Gweinidogion (Presbyteriaid).*

J. T. Williams, New Cambria.
Moses Williams, New Cambria.
John T. Evans, Bevier

TALAETH KANSAS.

Parch. John Jones, Emporia, Lyon Co.*

## 2. GWEINIDOGION A PHREGETHWYR YR ANNIBYNWYR

TALAETH PENNSYLVANIA.

1. Thomas Edwards, Birmingham, Alleghany Co.
2. Hugh E. Thomas, Pittsburgh, "
3. David Davies, Brady's Bend, Armstrong Co.
4. Richard Edwards, Johnstown, Cambria Co.
5. Thomas R. Jones, Ebensburgh, "
6. Daniel T. Thomas,* " "
7. John Gethin Thomas, " "

8. Thomas D. Rees, Lochiel, Harrisburgh.
9. J. W. Pugh, Pottsville, Schuylkill Co.
10. Ed. R. Lewis, Pottsville, "
11. Daniel Davies, Minersville, "
12. David E. Hughes, Tamaqua, "
13. D. T. Jones, Mahanoy City, "
14. Wm. Davies, Centralia, Columbia Co.
15. R. D. Thomas, Shenandoah City, Schuylkill Co.
16. John Williams, Slate Hill, York Co.
17. O. Owens, Slatington, Lehigh Co.
18. J. V. Jones, Summit Hill, Carbon Co.
19. Daniel Evans, Audenried, "
20. John B. Cook, Danville, Montour Co
21. David Evans, Plymouth, Luzerne Co.
22. David Davies, Mill Creek, ".
23. John R. Williams, Pittston, "
24. E. B. Evans, Hyde Park, "
25. Lewis Williams, Olyphant, "
26. W. Jenkins, Gibsonville, "
27. B. Evans, Carbondale, "
28. Daniel Daniels, Dundaff, Susquehanna Co.
29. Samuel A. Williams, Laraysville, Bradford Co.
30. J. Morris, " "
31. F. Teilo Evans, Blossburgh, Tioga Co.
32. John Davies, Wood's Run, Alleghany Co.
33. E. W. Jones, Johnstown, Cambria Co

#### TALAETH NEW YORK.

1. J. J. Jones, New York City.
2. R. Gwesyn Jones, Utica, Oneida Co.
3. James Griffiths, Utica, "
4. Wm. D. Williams, Deerfield, "
5. Thomas M. Owens, New York Mills, Oneida Co.
6. David E. Pritchard, Rome, "
7. John R. Griffiths, Floyd, "
8. R. Everett, D. D. (Steuben), Remsen, "
9. Sem Phillips, " "
10. Morris Roberts, " "
11. Robert Evans " "
12. Ed. Davies, Waterville, "
13. Hugh R. Williams, Plainfield, Otsego Co.
14. O. P. Jones, Turin, Lewis Co.
15. D. Jones, Richville, St. Lawrence Co.
16. B. H. Williams, Nelson Flats, Madison Co.
17. Wm. B. Roberts, Freedom, Cattaraugus Co.
18. John A. Roberts, Waterville, Oneida Co.

#### TALAETH VERMONT.

Parch. Samuel Jones, Middle Granville, N. Y.

TALAETH OHIO.

1. R. R. Williams, Cincinnati, Hamilton Co.
2. J. Jones, Columbus, Franklin Co.
3. John E. Jones, Granville, "
4. John H. Jones, Delaware, Delaware Co.
5. Thomas Jenkins, Radnor "
6. James Davies, Radnor "
7. Rees Powell, Rhiwdalar "
8. David ones, Gomer, Allen Co.
9. John J. Jenkins, Palmyra, Portage Co.
10. Wm. T. Hughes, Parisville, "
11. Ll. R. Powell, Alliance, Stark Co.
12. John P. Thomas, Irondale, Jefferson Co.
13. John M. Evans, Cleveland, Cuyahoga Co.
14. William Lewis, Newburgh, "
15. Thomas Evans, Mineral Ridge, Trumbull Co.
16. T. Edwards, " "
17. John S. Davies, Youngstown, Mahoning Co.
18. John Edwards, Crab Creek, "
19. D. Harrison, Coalburgh, Trumbull Co.
20. David Davies, Brookfield, "
21. J. P. Williams, Pomeroy, Meigs Co.
22. John M. Thomas, Ironton, Lawrence Co.
23. John Lloyd, Minersville, Meigs Co.
24. John A. Davies, Patriot P. O., Gallia Co.
25. David M. Evans, Portland, Jackson Co.
26. Evan Evans, Portland, "
27. John Davies, Thurman P. O., Gallia Co.
28. J. Jones, Centreville,* "

* Ymadawodd i New Cambria, Macon Co., Mo.

TALAETH ILLINOIS.

1. Richard Williams, Big Rock, Kane Co.
2. Wm. D. Williams, Braceville, Grundy Co.

TALAETH WISCONSIN.

1. Wm. Watkins, Racine, Racine Co.
2. John Cadwaladr, Milwaukee, Milwaukee Co.
3. Richard Morris, Waukesha Co.
4. Timothy Jones, "
5. Samuel Howell, Bark River.
6. John Price Jones, Spring Green, Sauk Co.
7. John Davies, " "
8. John D. Davies, Dodgeville, Iowa Co.
9. Evan Owens, Ridgeway, Jennieton P. O., Iowa Co.
10. Cadwaladr D. Jones, Watertown, Jefferson Co.
11. Griffith Evans, Watertown, "
12. John T. Lewis, Oshkosh, Winnebego Co.*
13. Humphrey Parry, Bangor, La Crosse Co.

*Ymadawodd i Middlebury (P. O.), ger Akron, Ohio

TALAETH MINNESOTA.

1. Jenkin Jenkins, Butternut Valley, Blue Earth Co.
2. Philip Peregrine, Judson P. O., "
3. Griffith Samuel, South Bend, "

TALAETH IOWA.

1. David Price, Williamsburgh, Iowa Co.
2. Evan J. Evans, " "
3. Morris Jones, Iowa City, Johnson Co.
4. Owen Owens, Long Creek, Louisa Co.*
5. Thomas W. Evans, Long Creek, Louisa Co.
6. Robert Evans, Flint Creek, Des Moines Co.
7. David Thomas, Oskaloosa Junction, Beacon P. O.
8. David Lewis, Given, Mahaska Co.
9. Tudor Jones, Dubuque, Dubuque Co.
10. John A. Jones, Florence, Cresco P. O., Howard Co.

*Ymadawodd i East Birmingham, Buchanan P. O., Alleghany Co.

TALAETH MISSOURI.

1. Griffith Griffiths, New Cambria, Macon Co.
2. George M. Jones, Callao, "
3. Rees M. Evans, Bevier, "
4. Griffith Jones, " "
5. Thomas W. Davies, Dawn, Livingston Co.
6. J. Jones, New Cambria, Macon Co.

TALAETH KANSAS.

1. Henry Rees, Emporia, Lyon Co.
2. J. Jones, " "
3. Wm. Thomas, Arvonia, Osage Co.
4. T. G. Jones, " "
5. Henry Davies, Powys, Manhattan, Riley Co.
6. Thos. X. Hughes, Coal Creek, Osage Co.

## 3. GWEINIDOGION A PHREGETHWYR Y BEDYDDWYR.

TALAETH PENNSYLVANIA.

1. Wm. Owen, Pittsburgh, Alleghany Co.
2. Henry Edwards, Brady's Bend, Armstrong Co.
3. David R. Jones, Johnstown, Cambria Co.
4. Benj. James, Ebensburgh, "
5. Wm. Morgan, Pottsville, Schuylkill Co.
6. Richard Edwards, " "
7. Thos. Thomas, Ashland, "
8. Wm. Thomas, Mahanoy City, "
9. David Evans, Shenandoah City, "
10. Benj. Jones, Centralia, Columbia Co.*
11. E. Jenkins, Olyphant, Luzerne Co.

12. Allen J. Morton, Slatington, Lehigh Co.
13. Benj. Nicholas, Dutchtown, Carbon Co.
14. Wm. R. Jones, Wisconsico, Dauphin Co.
15. John S. Jones, Danville, Montour Co.
16. Wm. D. Morgan, Plymouth, Luzerne Co.
17. Theophilus Jones, Wilkesbarre, "
18. J. Nicholas, Laurel Run, "
19. John W. James, Pittston, "
20. Maurice Evans, Taylorville, "
21. David W. Morris, Hyde Park, "
22. H. Cefni Parry, Providence, "
23. Benjamin Bowen, Olyphant, "

TALAETH NEW YORK

1. Morris Williams, Remsen, Oneida Co
2. Ed. Humphreys, " " (Bu farw).
3. Owen Parry, Bardwell, "
4. John P. Harris, Freedom, Cattaraugus Co.
5. John Edred Jones, Utica, Oneida Co.

TALAETH OHIO.

1. A.Phillips, Springfield, Summit Co.
2. D. C. Thomas, Newburgh, Cuyahoga Co.
3. Wm. L. Evans, Bedford, "
4. Ll. Rees, Mineral Ridge, Trumbull Co.
5. Ed. Jenkins,* Coalburgh, "
6. J. Davies, Brookfield, "
7. D. Probert, Saron, Mercer Co., Pa.
8. Samuel M. Thomas, Pomeroy, Meigs Co.
9. D. Lloyd, Centreville, Gallia Co.

* Symudodd i Olyphant, Luzerne Co., Pa.

TALAETH WISCONSIN.

1. H. Hughes, Picatonica, Iowa Co.
2. John Evans, " Mineral Point P. O.
3. Meredith Evans, Dodgeville, Iowa Co.
4. Owen M. Williams, " "
5. Thomas Holland, " "
6. Thomas M. Mathews, Jennieton P. O., Iowa Co.
7. J. W. Jones, Berlin, Marquette Co.
8. William Jones, Oshkosh, Winnebago Co.
9. J. B. Cook, Springwater, Wis.

## 4. Gweinidogion y Wesleyaid.

1. Rees Davies, Utica, Oneida Co., N. Y.
2. Thomas Hughes, " " (Bu farw).
3. David T. Davies, " "

4. William O. Williams, Utica, Oneida Co.
5. John W. Jones, Trenton, "
6. R. L. Herbert, Fairhaven, Rutland Co., Vermont.
7. John Jones, Oshkosh, Winnebago Co., Wisconsin.
8. H. H. Jones, Cambria, Columbia Co., "
9. William Owen, Dodgeville, Iowa Co., "
10. Evan Roberts, Iowa City, Johnson Co., Iowa.
11. Edward Roberts, Angleize P. O., Van Wert Co., Ohio.
12. Robert D. Price, South Bend, Blue Earth Co., Minn.
13. H. Humphreys, St. Louis, Missouri.
14. Isaac Thomas, Carbon, Clay Co., Indiana.

## NODIADAU AR YR ENWADAU CREFYDDOL.

1. Y Trefnyddion Calfinaidd.—Mae yr enwad crefyddol parchus hwn yn dra lluosog a dylanwadol yn mhlith Cymry America. Mae ganddynt hwy 152 o eglwysi, 365 o ddiaconiaid, 88 o weinidogion, 48 o bregethwyr, 8,042 o aelodau, 10,505 yn yr Ysgolion Sabbothol, ac 20,200 o wrandawyr; a chasglant yn flyneddol at y weinidogaeth $39,664, a $32,481 at wahanol achosion ereill. Maent yn lluosog a chryfion yn nhalaethau Pennsylvania, New York, ac Ohio, ond yn Wisconsin y mae eu cryfder mwyaf; maent yn fwy lluosog yno na'r holl enwadau ereill yn nghyd. Mae ganddynt rai capelau mawrion, a thraulfawr, yn ninas Efrog Newydd, Utica, Rome, a Remsen, N. Y.; a Hyde Park, Bellevue, Wilkesbarre, a Pittsburgh, a Johnstown, yn Pa.; a Jackson Co., a Van Wert, Portsmouth, Newark, Columbus, a Cincinnati, yn Ohio; a Racine, a Waukesha, a Columbia Co., yn Wisconsin; ac y mae eu heglwysi yn gryfion, a'u cynulleidfaoedd yn lluosog, mewn llawer o honynt. Yn mhlith eu blaenoriaid y mae llawer iawn o'r dynion mwyaf duwiol, doeth, pwyllog, a haelionus; a diau fod ganddynt dros fil o athrawon ac athrawesau goleuedig a ffyddlon yn addysgu yr ieuenctyd yn eu Hysgolion Sabbothol, a dichon dros bedair mil o rieni crefyddol yn dysgu Gair Duw i'w plant ar eu haelwydydd gartref. Yn mhlith eu gweinidogion a'u pregethwyr mae llawer iawn o'r dynion mwyaf synwyrgall, efengylaidd, duwiol, a dylanwadol, a rhai gwyr dysgedig, awduron medrus, a llenorion coethedig; ac y mae yn perthyn i'w heglwysi

a'u cynulleidfaoedd amrai o'r cerddorion, a'r beirdd, a'r llenorion goreu. Cynhaliant eu cymanfaoedd yn flyneddol yn y gwahanol dalaethau; trefnant eu hachosion yn ddoeth ac unol yn eu cynadleddau; a phregethant yr efengyl yn ddifrifol, fel eu tadau yn Nghymru, yn aml gyda dylanwad mawr. Yn ddiweddar ffurfiasant "*Gymanfa* GYFFREDINOL *y Trefnyddion Calfinaidd yn America;*" cynhelir ei chyfarfodydd, ac etholir ei swyddogion, yn flyneddol; ei *gwaith* fydd "ymdrin â'r pethau sydd yn dwyn perthynas a'r holl Gyfundeb; megys y cyhoeddiadau misol, a llyfrau ereill perthynol i'r Corff; y Cenhadaethau Cartrefol a Thramor; a'r materion a gyflwynir i'w sylw gan y Cymdeithasfaoedd Talaethol, trwy eu hysgrifenyddion neu eu cynnrychiolwyr." Mae ganddynt hefyd "Gymdeithas Genhadol Gartrefol a Thramor," wedi ei sefydlu dan nawdd eu Cymanfa Gyffredinol; a'i dybenion yw, anfon yr efengyl i'n cydgenedl sydd hebddi mewn lleoedd pellenig, a chonglau anghyfleus o'n gwlad, a sefydlu eglwysi ynddynt; cynorthwyo eglwysi gweiniaid, yn nghyda Chymdeithas Genhadol Dramor y Cyfundeb. Dyma bobl yn deall eu gwaith, ac yn ymaflyd ynddo o ddifrif. Maent hefyd yn selog ac ymdrechgar dros roddi addysg dda i'w pregethwyr ieuainc; yn debyg o godi athrofa Gymreig yn Wisconsin; ac yn awyddus am ffurfio undeb agosach â'r Presbyteriaid Saesnig, er lles cyffredinol. Maent hefyd yn ymdrechgar dros fugeiliaeth a gweinidogaeth sefydlog yn y wlad hon.

2. YR ANNIBYNWYR.—Mae yr Annibynwyr hefyd yn enwad crefyddol lluosog, gweithgar, a dylanwadol, yn mhlith Cymry America. Mae ganddynt hwy 154 o eglwysi, 357 o ddiaconiaid, 108 o weinidogion sefydlog, 32 o bregethwyr cynorthwyol, 9.057 o aelodau, 10,506 yn eu Hysgolion Sabbothol; 20,828 o wrandawyr. Cyfranant yn flyneddol tua $58,400 at y weinidogaeth, a $45,750 at wahanol achosion ereill. Maent yn lluosog a chryfion yn nhalaethau New York a Wisconsin, ond yn Pennsylvania ac Ohio y mae eu cryfder mwyaf. Mae ganddynt hwythau lawer o gapelau mawrion a drudfawr, yn Utica, Steuben, Remsen, dinas

New York, N. Y.; ac yn Hyde Park, Pittston, Minersville, Johnstown, Ebensburgh, a Pittsburgh, Pa.; ac yn Newark, Brookfield, Portland, Cincinnati, a Gomer, Ohio; ac yn Racine, Wisconsin. Mae ganddynt lawer o ddiaconiaid doeth, ffyddlon, a haelionus; a chanoedd o athrawon ac athrawesau, ac o rieni crefyddol, yn dysgu gwirioneddau y Nef i'w plant gartref, ac yn yr Ysgolion Sabbothol. Mae ganddynt luaws mawr o weinidogion a bugeiliaid duwiol, doeth, dysgedig, ac ymroddgar, ac amrai o honynt yn llenorion ac yn feirdd rhagorol. Yn eu heglwysi a'u cynulleidfaoedd y mae llawer o gerddorion medrus, a llenorion coethedig, ac o feirdd campus. Cynhaliant eu cymanfaoedd yn flyneddol yn mhob talaeth, gyda chyfarfodydd lleol ereill; ac y mae ganddynt lawer o bregethwyr gwir efengylaidd, doniol, a dylanwadol; ac yn aml bydd y dylanwad dwyfol yn amlwg yn eu cyfarfodydd. Maent yn enwog am gyfranu yn haelionus at y *weinidogaeth sefydlog*, ac am dalu dyledion eu capelau, ac am eu hymdrechion dros addysg plant a phregethwyr ieuainc, a thros ryddid gwladol a chrefyddol, a thros y cymdeithasau crefyddol; ond gallent fod yn llawer mwy enwog, pe cydunent i ddefnyddio eu *cynadleddau* i ystyried a threfnu pethau buddiol i'r holl eglwysi; pethau i ddyrchafu cymeriad a dylanwad y weinidogaeth sefydlog; pethau i reoli a chreu bywyd yn eu cyhoeddiadau; pethau i gefnogi a meithrin pregethwyr ieuainc, i gynorthwyo eglwysi gweiniaid, ac i ledaenu yr efengyl yn mhlith ein cydgenedl; a phe byddai aelodau eu *heglwysi* yn fwy goleuedig yn yr Ysgrythyrau, yn fwy duwiol a gostyngedig, ac unol a haelionus, ac yn fwy selog dros eu hegwyddorion, a lledaeniad Cristionogaeth bur y Testament Newydd.

3. Y BEDYDDWYR.—Er nad yw yr enwad parchus hwn mor lluosog a'r Trefnyddion Calfinaidd a'r Annibynwyr yn America, eto y maent wedi gwreiddio yma yn foreu; wedi gweithio yn egniol dros ledaeniad eu hegwyddorion; yn meddu dylanwad nerthol ar filoedd o Gymry, ac wedi gwneyd annhraethol les yn y wlad. Mae ganddynt hwy 71 o eglwysi, 147 o ddiaconiaid, 47

o weinidogion, 23 o bregethwyr, 3,829 o aelodau, 4,845 yn eu Hysgolion Sabbothol, 8,595 o wrandawyr. Cyfranant tua $27,300 yn flyneddol at y weinidogaeth efengylaidd; a thua $11,175 at wahanol achosion ereill. Yn Pennsylvania y mae eu cryfder mwyaf; maent yn fwy lluosog yn y dalaeth hono na'r Trefnyddion Calfinaidd, a braidd mor lluosog yno a'r Annibynwyr; maent yn lluosog a dylanwadol hefyd yn Ohio; ac er nad ydynt mor lluosog yn nhalaethau New York a Wisconsin, er hyny y mae ganddynt yno hefyd amrai o eglwysi gweithgar, a rhai gweinidogion talentog a chyfrifol. Mae ganddynt gapelau mawrion a thraulfawr yn Hyde Park, Pittston, Providence, Plymouth, Minersville, a Pittsburgh, Pa.; ac yn Cattaraugus, a Remsen, ac Utica, N. Y., a dichon mewn manau ereill. Mae llawer o'u diaconiaid yn ddynion egwyddorol a ffyddlon; ac yn mysg eu gweinidogion y mae llawer o bregethwyr gwir dalentog, dysgedig, a ffyddlon. Ceir yn eu plith hefyd amrai o gerddorion rhagorol, o feirdd campus, ac o lenorion coethedig. Maent yn selog dros yr Ysgol Sabbothol, a thros yr athrofäau, a thros ryddid gwladol a chrefyddol; ac y maent yn dwyn mawr sel hefyd yma, fel yn yr Hen Wlad, dros fedydd y credinwyr drwy drochiad; ac nid oes ond ychydig o honynt yn bleidiol i rydd-gymundeb â chredinwyr perthynol i enwadau ereill. Barnwyf eu bod yn credu yn gydwybodol fod hyny yn iawn ac ysgrythyrol, er fod enwadau crefyddol parchus ereill yn credu yn wahanol. Rhydd i bob dyn ei farn, ac i bob enwad eu golygiadau gonest a difrifol. I Dduw yn unig y maent yn gyfrifol am hyny. Dylem ddysgu goddef ein gilydd mewn cariad; ac ymroddi i gydweithredu yn egniol dros lwyddiant teyrnas y Gwaredwr. Pregethir yr efengyl gan y Bedyddwyr Cymreig yn America yn ddifrifol, yn bur, a dylanwadol; ac y maent yn ofalus am drefn a phurdeb dysgybliaeth eu heglwysi. Cyfranant yn haelionus at y weinidogaeth sefydlog, ac at bob achos da arall. Cynhaliant eu cymanfaoedd a'u cyfarfodydd blyneddol yn y gwahanol dalaethau, a gweithredant yn eu cynadleddau yn drefnus ac effeithiol, heb ormesu ar iawnderau eu gweinidogion a'u heg-

lwysi. Nid wyf yn deall fod dim gwahaniaeth rhyngddynt a'r Annibynwyr, oddieithr yn eu golygiadau ar y bedydd, ac ar rydd-gymundeb; ac yr wyf yn hiraethu am weled yr holl enwadau Cymreig yn trafod y materion hyny yn fwy brawdol a boneddigaidd, gan ddymuno llwyddiant eu gilydd i wneyd lles i'r llaweroedd, ac i ogoneddu Duw. Mae y Bedyddwyr yn enwad lluosog, parchus, dysgedig, a dylanwadol, trwy'r byd, ac wedi gwneyd dirfawr ddaioni. Dymunwyf eu llwyddiant.

4. Y WESLEYAID.—Mae yr enwad crefyddol hwn yn un o'r rhai mwyaf lluosog, ymdrechgar, haelionus, a dylanwadol ar y ddaiar, yn mhlith y Saeson a'r Americaniaid; ac y maent yn gryfion yn Nghymru. Ond rywfodd ni bu y Wesleyaid *Cymreig yn America* erioed, ac nid ydynt eto, yn lluosog a llwyddianus. Nid oes ganddynt hwy yma yn awr ond tua 7 o eglwysi, 16 o ddiaconiaid, 12 o weinidogion, 232 o aelodau, 305 yn eu Hysgolion Sabbothol, a 430 o wrandawyr. Mae ganddynt 5 o eglwysi yn nhalaeth New York, a 2 yn Wisconsin, a dyna yr oll sydd yn hysbys i mi. Y rheswm dros fod ganddynt fwy o weinidogion nag o eglwysi yw, am fod amrai o honynt yn aelodau yn yr un eglwys, megys yn Utica, a dau neu dri ereill heb eglwysi dan eu gofal, megys yn Iowa a Minnesota. Maent yn bobl dda, ffyddlon, a selog dros achos y Gwaredwr, ac yn dra unol gyda'r enwadau ereill; credwyf fod llawer o honynt wedi ymuno âg eglwysi yr Annibynwyr a'r Trefnyddion Calfinaidd, mewn amryw fanau lle nad oes eglwysi a phregethwyr gan y Wesleyaid Cymreig. Bu dau o'u gweinidogion mwyaf talentog a ffyddlon feirw yn ddiweddar, sef y Parch. John Ellis, New York, a'r Parch. Thomas Thomas, Remsen, Oneida Co., N. Y. Ac y mae y rhai sydd yn awr yn fyw yn ddynion da, difrifol, a ffyddlon; a rhai o honynt yn bregethwyr talentog a dylanwadol. Paham na byddai mwy o'r Wesleyaid Cymreig yn ymfudo i America? Pe buasai yma ddigon o aelodau i gynal eu gweinidogion yn gys[illegible] diau y gallasent sicrhau gwasanaeth y Parchedigion Erasmus Jones, a Lewis Meredith (Lewis Glyn

Dyfi), sef y ddau Gymro enwog a thalentog sydd gyda y Wesleyaid Saesnig yn y wlad hon, ac amryw ereill.

## UNDEB YR ENWADAU CREFYDDOL.

Un o weddiau mwyaf nodedig ac effeithiol y Gwaredwr, a welir yn Ioan xvii. 20, 21; "Fel y byddont oll yn un," &c. Ac un o gynghorion mwyaf difrifol Paul i'r eglwysi, a welir yn Ephes. iv. 1—6; "Gan fod yn ddyfal i gadw undeb yr Ysbryd yn nghwlwm tangnefedd." Ymddengys nad oedd ond *un enwad crefyddol uniongred* yn oes yr apostolion, sef yr holl eglwysi Cristionogol, neu y rhai oedd "yn aros yn nysgeidiaeth Crist," (2 Ioan i. 6—10,) ac yn cydffurfio "â'r athrawiaeth iachus sydd yn ol duwioldeb." (1 Tim. vi. 3—5.) Y rhai hyny yw gwir eglwysi Crist yn mhob oes ar ol hyny. Ond ymddengys fod llawer o ymbleidio, o ymrysonau, ac o ragfarn a chyd-bartiaeth, mewn rhai o'r eglwysi apostolaidd, a bod hyny yn ofid mawr i'r apostolion, ac yn cael ei wahardd yn bendant fel peth peryglus a niweidiol, 1 Tim. v. 21; a vi. 3—5. 1 Cor. iii. 1—5.

Ond wedi i'r eglwysi gael eu llygru, a gwyro mor ddirfawr oddiwth y gwirionedd datguddiedig yn yr Ysgrythyrau, yn y canrifau dilynol, diau fod gan y Diwygwyr Protestanaidd hawl i *ymneillduo* oddiwrthynt, ac i ffurfio eglwysi mwy unol â dysgeidiaeth a rheolau Iesu Grist yn y Testament Newydd. Credwyf mai hyny oedd eu hamcan gonest. Ond dynion *ffaeledig* oeddynt hwy, ac yw eu holl ddilynwyr eto. Gallant gyfeiliorni mewn rhai pethau. Credwyf hefyd fod y pedair plaid grefyddol *Gymreig*, sef y Trefnyddion Calfinaidd, y Bedyddwyr, y Wesleyaid, a'r Annibynwyr, yn *uniawngred* yn y prif athrawiaethau a'r rheolau ysgrythyrol, sydd yn rheidiol i'w credu a'u hymarferu er iachawdwriaeth eneidiau, a gogoniant Duw, er eu bod yn gwahaniaethu mewn rhai pethau dibwys i ateb y dybenion mawrion hyny. Ffaith yw fod Duw wedi arddel a llwyddo pob un o honynt yn ddirfawr; ni buasai yn gwneyd hyny pe buasent yn euog o ddysgu cyfeiliornadau dinystriol; ac os tywalltodd Ef ei Ys-

bryd arnynt, yr hyn yn sicr a wnaeth lawer gwaith, pwy a feiddia eu dirmygu a'u herlid? Ni wna un Cristion duwiol ac egwyddorol hyny.

Bu gormod o "ragfarn a chyd-bartiaeth" yn Nghymru ac America. Ond y mae yn hyfrydwch mawr i mi, ac i filoedd ereill, i gael seiliau cedyrn i gredu fod hyny yn darfod yn gyflym, a bod arwyddion y derfydd yn llwyr yn fuan. "Partiol farn, a rhagfarn, lawr a hwy." "Doed cariad pur, a thangnef, yn eu lle." Dylai pob gweinidog, a phob pregethwr, a phob swyddog, a phob eglwys, wneyd eu goreu, mewn ffordd efengylaidd, er lles a chynydd eu heglwysi a'u henwad eu *hunain;* ond ni ddylent wneyd hyny ar draul dirmygu, enllibio, a drygu, gweinidogion ac eglwysi perthynol i enwadau efengylaidd *ereill;* ac nis gallant niweidio ereill yn fwriadol, heb wneyd mwy o niwaid iddynt eu hunain. Mae cariad ac undeb yn ffynu yn mhlith yr enwadau crefyddol Cymreig yn America; profir hyny trwy fod yma lawer o eglwysi *undebol,* a bod gweinidogion a phregethwyr y gwahanol enwadau yn parchu eu gilydd, ac yn aml yn pregethu yn nghapelau eu gilydd; a bod yr eglwysi yn hoffi hyny, ac yn aml yn cydaddoli mewn un capel, er mwyn cael cyfleusdra i gydweddio, ac i gydganu, ac i wrando ar brif bregethwyr y gwahanol enwadau, yn ddiwahaniaeth. Gallant gymeradwyo a chanmol gwir rinwedd, a thalent, a theilyngdod, yn mhob plaid fel eu gilydd. Cydweithredant yn egniol dros bob achos da. Mae amrai o weinidogion y Wesleyaid Cymreig, am nad oedd yma le iddynt i fod yn ddefnyddiol gyda'u henwad eu hunain, wedi ymuno â'r Annibynwyr, ac yn weinidogion parchus a defnyddiol yn eu plith. Mewn sefydliadau newyddion, lle nad oes digon o aelodau a gwrandawyr i gynal dwy neu ychwaneg o eglwysi, gwell fyddai *un eglwys undebol* gref a ffyddlon. Annoeth iawn fyddai ffurfio dwy eglwys, a chodi dau gapel, mewn lleoedd felly. Pa enwad bynag a sefydlo *gyntaf* mewn ardal, ac a fyddo yn y mwyafrif ar sefydliad cyntaf yr eglwys mewn ardal, dylai yr eglwys fod yn perthyn i'r enwad hwnw; ac ni ddylai enwadau ereill geisio ei hafionyddu, na sefydlu eglwys arall yn yr ardal hono, hyd

nes y byddo y boblogaeth Gymreig wedi cynyddu digon, a bod ganddynt obaith cryf y gallant gael yno ddwy eglwys, a chynulleidfa lewyrchus. Carwn weled yr amser hyfryd wedi dyfod, pan y byddo y pedair plaid crefyddol Gymreig wedi penderfynu uno oll â'u gilydd dan yr enwau ysgrythyrol, "Cristionogion," a'r "Eglwysi Cristionogol;" ac yn goddef eu gilydd mewn cariad, yn y pethau dibwys y maent yn gwahaniaethu. Yr wyf yn cynyg hyn i sylw difrifolaf yr holl weinidogion a'r eglwysi Cymreig. Credwyf fod miloedd yn hiraethu am dano, ac yn barod i'w groesawu. Bydded felly.

## PENNOD III.

**TRAETHAWD AR HANES ENWOGION CYMREIG A'U HILIOGAETH, YN NGHYD A HANES LLENYDDIAETH Y CYMRY YN AMERICA, GAN HUGH J. HUGHES, YSW., NEW YORK.**

Mae ein cyfaill Hugh J. Hughes, Ysw., yn aelod parchus gyda'r Trefnyddion Calfinaidd, ac yn dra adnabyddus i Gymry America, er ys blyneddau, fel cerddor a llenor medrus, ac fel awdwr a chyhoeddwr. Ysgrifenodd y Traethawd cynwysfawr uchod trwy ddiwydrwydd a llafur mawr; cyflwynodd ef i gystadleuaeth Eisteddfod Utica, Oneida Co., N. Y., yn Ionawr 1, 1861, a barnwyd ef yn fuddugol. Wedi hyny cafodd lawer o anogaethau i'w *gyhoeddi;* ond digalonodd o herwydd amrai resymau. Buasai ei gyhoeddiad yn ychwanegiad gwerthfawr at ein llenyddiaeth, ac yn fuddiol i'r genedl yn gyffredinol; ond nis gallesid gwneyd hyny heb draul ddirfawr, amser lawer, a llafur caled, a phryder dwys. *Rhagdalion prydlon* oddiwrth ddwy neu dair mil o dderbynwyr, a fuasai yn rhwyddhau, ac yn sicrhau ei gyhoeddiad, er lles ein cenedl, a chefnogaeth a chyfiawn dâl i'r awdwr parchus. Cynnwysa yr ysgrif dros *wyth gant* o dudalenau, wedi ei hysgrifenu yn eglur a manwl ar bapyr llythyr; digon i wneyd cyfrol fawr o dros chwe' chant o dudalenau mewn argraff, gwerth $3 neu $4 wedi ei rhwymo yn hardd. Am hyny yr oedd yn annichon i mi gyhoeddi ei holl gynnwysiad gwerthfawr yn "*Hanes Cymry America,*" er mor dda fuasai genyf allu gwneyd hyny. Ond rhag i'r fath Draethawd gwerthfawr fyned i ddifancoll, ac er mwyn codi ychwaneg o awydd yn fy nghenedl i wneyd

cydymdrech egniol dros gyhoeddiad helaethach o hono yn yr AIL *Gyfrol* o'r llyfr hwn, neu yn gyflawn mewn rhyw ddull arall dan olygiaeth Mr. Hughes* ei hunan, rhoddaf yma *grynodeb byr* o'i gynnwysiad. Mae wedi ei ddosranu yn drefnus; ond nid yw yn *gyflawn,* am ei fod wedi ei ysgrifenu er ys *deng mlynedd* yn ol. Mae cynydd mawr wedi bod ar rifedi ein pregethwyr, a'n beirdd, a'n cerddorion, a'n llenorion, ac ar ein llenyddiaeth hefyd, er hyny.

## CRYNODEB BYR O'I GYNNWYSIAD.

RHAGLITH. Byr a chynnwysfawr. Dengys beth a feddylia wrth yr ymadrodd "Enwogion,"—"Rhai wedi rhagori ar y cyffredin mewn rhyw gangen o wybodaeth; rhai wedi enill iddynt eu hunain enw trwy orchest a wnaethant yn ystod eu hoes; y rhai sydd yn llesâu eu cyd-ddynion, ac yn gogoneddu Duw, trwy rinwedd, crefydd, a defnyddioldeb. Nid y dynion mwyaf *cyhoeddus,* bob amser, ydyw y dynion mwyaf *enwog.* Mae graddau mewn enwogrwydd," &c.

*Rhan I. Dosbarth I.* DUWINYDDION.—Barddoniaeth gan y Parch. G. Parry, Caernarfon. Hanes y Duwinyddion canlynol :—

1. Parch. Samuel Jones, Penypec, ger Philadelphia. 1686.
2. Parch. Abel Morgan, Phila. 1711. Awdwr y Myn. Ysg.
3. Parch. Jenkin Jones, Welsh Tract. 1710.
4. Parch. Samuel Jones, D. D., Philadelphia. 1737.
5. Parch. Thomas Griffiths, Welsh Tract. 1703.
6. Parch. Elisha Thomas, " 1703.
7. Parch. Enoch Morgan, " 1730.
8. Parch. Owen Thomas, " 1740.
9. Parch. David Davies, " 1748.
10. Parch. Griffith Jones, Duck Creek. 1749.
11. Parch. Hugh Davies, Dyffryn Mawr. 1711.
12. Parch. John Davies, " 1713.
13. Parch. Benjamin Griffiths, Montgomery. 1720.
14. Parch. Thomas Jones, Tulpekoken. 1740.
15. Parch. Morgan Edwards, Philadelphia. 1757.
16. Parch. Thomas Eaton, Montgomery. 1722.

* Bu Mr. Hughes farw, yn Hyde Park, Pa., Ion. 1, 1872.

17. Parch. William Davies, New Britani. 1732.
18. Parch. Joshua Jones, " 1761.
19. Parch. David Jones, New Castle. 1736.*
20. Parch. Nathaniel Rogers, Ipswich. 1638.
21. Parch. John Rogers; Coleg Havard. 1649.
22. Parch. Ezeciel Rogers, Rowley. 1639.
23. Parch. Bela B. Edwards, D. D., Coleg Amherst. 1826.*
24. Parch. Hugh Peters, Salem. 1636.*
25. Parch. Goronwy Owain, Virginia. 1760.*
26. Parch. Timothy Edwards, Hartford. 1669.*
27. Parch. Jonathan Edwards, Northampton. 1720.*
28. Parch. Jonathan Edwards, D. D., Union College. 1745.
29. Parch. Tryon Edwards, D. D., New London. 1845.
30. Parch. Justin Edwards, D. D., Andover. 1812.
31. Parch. Timothy Dwight, D. D., Coleg Yale. 1765.
32. Parch. Sereno E. Dwight, D. D., Greenfield. 1786.
33. Parch. Samuel Davies, D. D., New Castle. 1724.
34. Parch. Lyman Beecher, D. D., New Haven. 1775.
35. Parch. Edward Beecher, D. D., Galesbury. 1861.
36. Parch. Henry Ward Beecher, Brooklyn. 1813.
36. Parch. Timothy Woodbridge, Stockbridge. 1784.
38. Parch. Wm. R. Williams, D. D., New York. 1804.
39. Parch. Evan Evans, D. D., Philadelphia. 1700.

Mae y rhan fwyaf o'r enwogion uchod wedi marw; ac yr oedd llawer o honynt heb allu siarad yr Omeraeg, a defnyddiasant eu hamser a'u talentau i lesoli cenhedloedd ereill. Ond yr oeddynt oll yn ddisgynyddion Cymreig, ac yn dra enwog am eu dysgeidiaeth; ac ysgrifenodd rhai o honynt lawer o lyfrau gwerthfawr er lles y miloedd; bu rhai o honynt yn brif ddysgawdwyr yn y colegau; ac y mae ychydig o honynt eto yn fyw, yn llenwi cylchoedd pwysig, ac yn meddu cymeriad uchel a dylanwad mawr yn y wlad hon. Mae enwau Abel Morgan, David Jones, Jonathan Edwards (Northampton), Timothy Dwight, Wm. R. Williams, a Henry Ward Beecher, ac yn enwedig yr anfarwol *fardd*, Goronwy Ddu o Fon, yn disgleirio yn eu plith. Ysgrifenodd Mr. Hughes hanes amrai o honynt yn fyr iawn, ereill yn helaethach; ond ceir hanes maith am bob un a nodais â *. Mae y flwyddyn yn cyfeirio at yr amser y ganwyd rhai o honynt, ac at amser tiriad ereill yn y wlad hon, ac weithiau at eu sefydliad yn y weinidogaeth yma.

Rhodda yr awdwr hefyd *hanes tra ehelaeth* am y per-

sonau canlynol, gyda *nodiadau* ar eu cymeriadau a'u talentau, a *rhestr* o'u gweithiau:—

40. Parch. Llewelyn J. Evans, M. A., Cincinnati. 1833.
41. " Wm. C. Roberts, D. D., Elizabethtown. 1832.
42. " Benjamin W. Chidlaw, A. B., Cincinnati. 1811.
43 " Edward D Morris, D. D., " 1825.
44. " Wm. Roberts, D. D., Bellevue, Pa. 1810.
45. " Geo. Roberts, Ebensburgh, Pa. 1795. Marw 1853.
46. " Wm. Rowlands, D. D., Utica, N. Y. 1807. Marw.
47. " John P. Harris, Cattaraugus, N. Y. 1820.
48. " David Williams, Chicago, Ill. 1800.
49. " Llewelyn R. Powell, Alliance, O. 1804.
50. " Wm. Hughes, Racine, Wis. 1812.
51. " David Davies, Brookfield, Ohio. 1817.
52. " Lewis Meredith, Illinois. 1828.
53. " Griffith Griffiths, New Cambria, Mo. 1824.
54. " Rees Lloyd, Ebensburgh, Pa. 1759. Marw 1838.
55. " R. D. Thomas, Mahanoy City, Pa. 1817.
56. " Robert Littler, South Trenton, N. Y. 1818. Marw.
57. " R. L. Herbert, Vermont. 1827.
58. " Thos. R. Jones, Alliance, Ohio. 1819.
59. " Evan F. Jones, West Bangor, Pa. 1821.
60. " B. M. Davies, Baltimore. 1820. Marw.
61. " Thomas T. Evans, Holland Patent. 1808.
62. " John M. Thomas, Ironton, Ohio. 1823.
63. " Erasmus W. Jones, New York. 1817.
64. " John Edred Jones, Utica, N. Y. 1823.
65. " John R. Daniels, Wisconsin. 1826.
66. " Richard Edwards, Pottsville. 1819.
67. " Joseph E. Davies, Hyde Park, Pa. 1810.
68. " Thomas Edwards, Birmingham, Pa. 1805.
69. " Griffith Roberts, Dodgeville, Wis. 1816.
70. " John W. James, Pittston, Pa. ——
71. " Thomas Foulkes, Oshkosh, Wis. 1818.
72. " William Morgan, Pottsville. ——
73. " James Davies, Radnor, Ohio. 1796.
74. " Howell Powell, New York. 1819.
75. " Edward W. Jones, New York Mills. 1823. Marw.
76. " Thomas Williams, Remsen. 1800.
77. " David Price, Iowa. 1807.
78. " John Moses, Newark, Ohio. 1827.
79. " Morris Roberts, Remsen, N. Y. 1799.
80. " Jenkin Samuel, Philadelphia. 1755. Marw.
81. " Thomas J. Phillips, Plymouth. 1828.
82. " Edward Jones, Portsmouth, O. ——
83. " William D. Williams, Deerfield, N. Y. 1808.
84. " John V. Hughes, Fairfield. 1804.
85. " Robert Everett, D. D., Steuben, N. Y. 1791.
86. " Hugh R. Williams, Otsego Co., N. Y. 1822.
87. " Samuel Roberts (S. R.), Tennessee. 1800.

Dosbarth II. Golygyddion. Barddoniaeth gan "Eos Glan Twrch." "Gan mai y pwlpud a'r wasg yw y ddau offeryn mawr er gwareiddio ac efengyleiddio y byd, mae o annhraethol bwys pa fath ddynion a ddringa i'r pwlpudau, ac a eistedda yn y cadeiriau golygyddol, i olygu ein newyddiaduron a'n cylchgronau. Ystyriwn fod y swydd olygyddol i'w rhestru yn agosaf at weinidogaeth fawr yr efengyl. Dylai pob *golygydd* fod yn ddyn dysgedig, o gymeriad da, yn feirniad craffus yn ngwahanol ganghenau llenyddiaeth, yn hollol ddiduedd a gonest, ac o chwaeth goethedig."

1. George P. Morris.—Ganwyd ef yn New York, yn y fl. 1802. "*The New York Mirror.*"
2. Park Benjamin, B. A., N. Nork. 1809. *The New World*, &c.
3. Anrh. Ellis H. Roberts, Utica, N. Y. 1827. *Utica Morning Herald.*
4. Samuel Williams, M. A., San Francisco. 1826.
5. E. W. Evans, A. M., Marietta, Ohio. 1827. *Yale Literary Magazine.*
6. Evan E. Roberts, Utica, N. Y. 1806. *Haul Gomer*, &c.
7. John A. Williams (Don Glan Towy). *Cymro America.* 1831.
8. John W. Jones. Ganwyd Ion. 11, 1829. Golygydd y *Drych.*
9. Thos. Gwallter Price (Cuhelyn). Rhag. 23, 1829. *Workman Advocate.* Marw.
10. Thos. B. Morris (Gwyneddfardd). 1825. Golygydd *Baner America.*
11. Thos. Jenkins (Myrddin), Utica. Ion., 1803. *Y Cyfaill, Mynegair.*
12. Benj. F. Lewis, Argraffydd, Utica. 1831. *Y Cymro*, &c.
13. John M. Jones, Utica. 1816. *Y Drych*, *Y Cymro*, &c.

*Dosbarth III.* Beirdd a Llenorion. Barddoni aeth Saesnig.

1. John Edwards (Eos Glan Twrch), Rome, N. Y. Bardd Cadeiriol.
2. Wm. J. Williams (Gwilym ab Ioan), New York. Bardd enwog. Bu farw.
3. Thomas Lloyd Jones (Gwenffrwd). Gan. 1810. Bu farw yn Mobile, Ala., Awst, 1834.
4. Thomas Ingram Jones. Daeth o Sir Frycheiniog i New York yn 1831.
5. Richard Roberts, brawd S. R., Tennessee. Canig Fuddugol ar "Manasse," &c.
6. John D. Jones (Eryr Meirion). Ganwyd yn y Bala, Ebrill 27, 1833.
7. David Pugh. Ganwyd yn Harlech, Hydref 19, 1820. Wis. Bardd, Cerddor.

8. William Williams (Gwilym Fardd), New York. Ymfudodd yma yn 1824. Bu farw.
9. Samuel Williams (Gwentydd Fardd), Hyde Park, Luzerne Co., Pa.
10. Thomas Evans, Gibson, Susquehanna Co., Pa. Ganwyd Hydref, 1818.
11. Daniel J. Evans (Daniel Ddu), Gibson, Pa. Ganwyd Ebrill 23, 1823.
12. David E. Evans (Trelech), Plymouth, Pa. Ganwyd yn 1825.
13. Robert L Roberts (R. Llechryd). Ganwyd yn Ffestiniog, yn y fl. 1824.
14. Anrh Thomas Ll. Hughes, Portland, Ohio. Ganwyd yn y fl. 1809.
15. Robert Evans, Ieu., (Meirionwysion), Utica, N. Y. Bu farw yn ieuanc.
16. Abraham Williams, Pennsylvania. 1793. Awdwr "Cywydd yr Adfail."
17. Llewelyn D. Howell, Utica, N. Y. Ganwyd 1812. Bu farw Gor. 13, 1864.
18. Daniel Davies, Alliance, Ohio. "Pryddest Fuddugol ar y Tri Llanc," &c.
19. Methuselah R. Rowlands (Llinos Glan Ohio), Minersville, Pa. Bu farw.
20. Rowland Walters (Ionoron Glan Dwyryd), Vermont. Bardd Cadeiriol.
21. Wm. Owen John (Eryr Glan Taf), Pittsburgh, Pa. Ganwyd Hydref 25, 1824.
22. Edward R. Jones (Ab Cimmerchyn), mab Jones, Maes-y-plwm. Bu farw yn Floyd, N. Y.
23. Robert Richards, Argraffydd, New York. Ganwyd yn Dolgellau, yn 1826.
24. John E. Roberts (Cymro Brith), Pitston, Pa. Ganwyd yn Mon, yn 1822.
25. Henry Lewis (Ab Llewelyn), Utica, N. Y. Ganwyd 1820. Bu farw Mai, 1871.
26. Richard M. Williams (Ab Morydd), Floyd, N. Y. Ganwyd yn Mon, yn 1789.
27. Charles Sanderson (Siarl Wyn o Benllyn). Bu farw yn New Orleans, 1832, yn 23 ml. oed.
28. John Gordon Jones, Michigan. Ganwyd yn Llanerch-y-medd, Mon, Gor. 16. 1830.

*Dosbarth IV.* BARDDONESAU. What is Poetry? Maria James.

1. Maria James, New York, 1839. Awdures "*Wales and other Poems.*"
2. Maria Brooks. Ganwyd hi yn Medford, Mass., 1795. "*Esther,*" "*Judith,*" &c.
3. Mrs. R. D. Thomas (Sarah Maldwyn). Ganwyd Rhag 27, 1828. "Manavon i Mi," &c.
4. Rebecca Jones, merch R. Jones, Ysw., Madison Co., N. Y. "Coffadwriaeth am Jane Roberts."

*Dosbarth V.* CERDDORION. English Poetry. Pope's Cecilia

1. Robert Williams. Ganwyd yn y Bala, Ion., 1795. Yn Turin, Lewis Co., N. Y.
2. William Roberts. Ymfudodd yma yn 1846. Bu farw yn Dodegville, Wis., Awst 6, 1850.
3. Thomas Davies, Utica, N. Y. Ganwyd 1801. *Professor of Music.*
4. Edward Roberts, New York, mab y Parch. Morris Roberts. Remsen, N. Y.
5. Griffith W. Williams, Slate Hill, York Co., Pa. Ganwyd Meh. 6, 1829.
6. John Price Jones, Racine, Wis. Ganwyd yn Sir Frycheiniog, Ion. 8, 1824.
7. William Morris, Slate Hill, Pa. Datganwr enwog. Bu farw.
8. Edward J. Lewis, Utica, N. Y. Ganwyd 1809. Awdwr yr "Hosanna," &c.
9. Wm. Aubrey Powell, Scranton, Pa. Ganwyd Rhag. 31, 1836. *Professor.*
10. John O. Pritchard, Utica. Ganwyd yn Bethesda, Medi 28, 1826. Bu farw.
11. John D. Owen. Ganwyd yn Llanfair Caereinion, G. C., Medi 15, 1836.
12. Hugh Hughes (Huw o Leiviad), Utica. Ganwyd yn Llanuwchlyn, G. C.
13. Evan Davies, New York. Ganwyd yn Llangadfan, G. C., yn y fl. 1824.
14. Thomas T. Jones, Mahanoy City, Pa. Ganwyd yn Dowlais, D. C., Awst 13, 1820.
15. Thos. G. Jones, Vermont. Ganwyd yn Llanberis, G. C., Medi 20, 1820.
16. John Abel Jones. Ganwyd yn Llanidloes, G. C., Hyd. 27, 1826. Cerddor enwog.
17. John M. Price, Danville, Pa. Ganwyd yn Dowlais, D. C.
18. Thos. W. Davies, Danville, Pa. Gan. yn Llansamlet, D. C.
19. Robert J. Roberts. Ganwyd yn Dolgellau, Hyd. 2, 1832.
20. Thos. N. Williams, Dodgeville, Wis. Gan. yn Meh. 1820.
21. Robt. W. Jones, Vermont. Gan. yn Caernarfon, Eb. 26, 1833.
22. Richd. J. Thomas, Mankato, Minn. Ganwyd yn Llanfair, Ebrill 3, 1826.
23. Robt. E. Hughes. Ganwyd ger Tremadog, G. C., yn 1820.
24. Richard O. Prichard, West Castleton, Vt. Ganwyd yn y Waunfawr, 1821.
25. David E. Evans, Boston. Brodor o Bethesda, Arfon.
26. David B. Roberts, Utica, N. Y. Gan. gerllaw y Bala, G. C.
27. Isaac Howells, Carbondale, Pa. Gan. Merthyr, Meh. 2, 1821.
28. John A. Jones, Howard Co., Iowa. Ganwyd ger Llanbadarn, Mai, 1828.
29. Wm. M. Owen, Utica, N. Y. Ganwyd yn Penllys, Maldwyn, yn 1821.

30. Benj. Hopkins, Providence, Pa. Ganwyd yn Penycae, Rhag. 28, 1830.
31. John Mills, Floyd. Ganwyd yn Llanidloes, yn 1815. Brawd Richard Mills.
32. John Howells. Ganwyd yn Manavon, G. C., Ion. 10, 1826. Ebensburgh, 1852.
33. Wm. J. Jones. Ganwyd yn Llanwrin, Mai 10, 1831. Yn awr yn Westernville, N. Y.
34. John T. Jones. Ganwyd yn Llan-y-Mawddwy, G. C., 1821. Turin, N. Y., 1841.
35. John R. Thomas, New York. Ganwyd yn Newport, Mynwy, Mawrth 26, 1829.
36. Aptomas, New York. Ganwyd yn Bridgend, D. C., 1829.

DOSBARTH VI.—CERDDORESAU.

1. *Mrs. Mary Hughes*, gwraig y Parch. E. J. Hughes, Wilkesbarre, Luzerne Co., Pa. Adnabyddid hi cyn priodi dan yr enw Miss Mary Davies, gynt o Utica, wedi hyny o ddinas New York. Merch ydyw i Mr. Rees Davies, a Mrs. Gwen Davies, gynt o Langadfan, Maldwyn. Ganwyd hi Mehefin 25, 1833. Mae yn chwaer Mr. Evan Davies, New York.

2. *Mrs. T. G. Jones*, gwraig Mr. Thomas G. Jones, Vermont. Merch ydyw i Griffith ac Elizabeth Williams, Penyclogwyn, plwyf Llanfihangel-y-penant, Arfon. Ganwyd hi yn y fl. 1820. Tiriodd yn New York Gor. 22, 1854. Yr oedd yn canu gyda "Chôr Vermont" yn Eisteddfod Utica, Ionawr 1, 1857. Canasant ddarnau y tro hwnw yn Utica, a'r cylchoedd, nad annghofir hwy yn yr oes hon.—"Dewch at ddirwest, dirwest, dirwest," &c.

3. *Mrs. O. J. Owens*, gwraig Mr. O. J. Owens, Vermont, a merch i Richard Williams (mab *Gwilym Peris*), a Mary Williams ei wraig, gynt o Corris, Meirionydd, G. C. Ymfudodd gyda'i rieni i'r wlad hon yn 1853. Yr oedd hithau, a'i phriod, yn perthyn i "Gôr Vermont," ac yn datganu yn swynol yn eisteddfod Utica, Ionawr 1, 1857.

4. *Mrs. William J. Jones*, Westernville, Oneida Co., N. Y. Merch ydyw i'r cerddor Thomas L. Davies, a Mary ei wraig, gynt o Brynberian, Penfro, D. C., wedi hyny o Floyd, ac yn awr o New York Mills, Oneida

Co., N. Y. Ganwyd hi yn agos i Brynberian, Penfro, Rhagfyr 4, 1837. Daeth gyda'i rhieni i'r wlad hon yn 1841. Bu hi a'i phriod, William J. Jones, yn aelodau ffyddlon yn yr eglwys Annibynol yn Floyd am flynyddau. Enillodd hi a'i phriod amrai o wobrwyon am ddatganu yn Eisteddfodau Utica, a manau ereill. Cawsant uchel gymeradwyaeth.

5. *Mrs. Lewis E. Davies* (yr Eos Gymreig), gwraig Mr. Lewis E. Davies, Hyde Park, a chwaer i'r Professor William Aubrey Powell, Scranton, Pa. Ymfudodd i'r wlad hon gyda'i rhieni, David a Jane Powell, yn 1853. Ganwyd hi yn Glyn Ebw, Mynwy, D. C., Medi 16, 1839. Priododd â Mr. Davies Medi 10, 1859. Ei henw cyn priodi oedd Elen Powell. Mae wedi enwogi ei hun fel cantores er ys blyneddau. Bu yn datganu gyda'i brawd, mewn eisteddfodau a chyngerddau, mewn llawer iawn o fanau yn y wlad hon.

6. *Mrs. John A. Jones*, gwraig y Parch. John A. Jones (A.), Florence, Cresco P. O., Howard Co., Iowa. Merch ydyw i David ac Ann Davies, Ffaldybrenin, Sir Gaerfyrddin, D. C. Ganwyd hi Awst 1, 1829. Yr oedd ei thad yn athraw cerddorol. Priododd yn 1851, ac ymfudodd gyda'i phriod i'r wlad hon yr un flwyddyn. Mae yn gantores naturiol, ac ystyrid hi yn un o'r rhai blaenaf yn mhlith y Cymry yn Wisconsin. Symudodd gyda'i phriod i'r lle uchod, yn Iowa, er ys rhai blynyddau.

7. *Mrs. Isaac Howell* (*Y Dryw Fach*), priod Mr. Isaac Howell, Carbondale, Luzerne Co., Pa. Merch John ac Ann Morgans, Merthyr, D. C., ydyw. Ganwyd hi yno Mai 19, 1828. *Letitia* yw ei henw cyntaf. Cafodd lawer o fanteision i ddeall cerddoriaeth gan ei phriod, ac ereill. Bu yn datganu yn yr Hen Wlad o flaen y teulu breninol, a phrif foneddigion a boneddigesau y deyrnas. Cafodd nawdd Lady Hall. Enillodd lawer o wobrwyon. Yn Eisteddfod y Fenni, yn 1841, y cafodd y teitl "*Y Dryw Fach*," a gwobr o £5, am ganu "Glan Meddwdod Mwyn." Bu yn canu yn Nghyngerdd y Prof. B. F. Baker, Boston, yn Carbondale, Pa., yn 1856, a rhoddodd uchel gymeradwyaeth iddi.

8. *Mrs. J. Parry*—merch ydyw i'r Parch. Thomas Williams (T. C.), a Grace Williams, yn awr o Remsen, N. Y. Ganwyd hi Tachwedd 3, 1834, yn Tanygrisiau, Ffestiniog, Meirionydd, G. C. Cafodd fanteision addysg fel y cyffredin. Dangosodd hoffder mawr at gerddoriaeth er pan yn blentyn. Bu yn datganu mewn amryw gyngerddau, a chafodd uchel gymeradwyaeth. Mae yn perchen llais nerthol, yr hwn a ellir ei glywed yn eglur o ganol cynulleidfa luosog. Gor. 5, 1859, priododd â Mr. John Parry; mae yntau yn gerddor da, ac wedi cyfansoddi rhai darnau. Preswyliant yn Middle Granville, swydd Washington, N. Y.

## RHAN II.—HANES LLENYDDIAETH Y CYMRY YN Y WLAD HON.

### DOSBARTH I.—Y CYLCHGRONAU.

YR WYTHNOSOLION.—1. "Y DRYCH."—Y Newyddiadur Cymreig Wythnosol *cyntaf* a gyhoeddwyd ar gyfandir America. Ymddangosodd y rhifyn cyntaf o hono Ionawr 2, 1851. Wyth tudalen, pris $1 y flwyddyn. Cyhoeddwyd ef gan Mr. John M. Jones, New York. Efe oedd ei berchenog a'i olygydd. Rhagfyr 16, 1854, gwerthodd ef i gwmpeini yn New York. Yr oedd iddo 2,750 o dderbynwyr y pryd hyny. Wedi hyny bu am hirfaith flyneddau dan olygiaeth Mr. John W. Jones. Argraffwyd ef gyntaf gan Mr. Benjamin Parry, wedi hyny gan Richards & Jones, yn New York. Bu mewn undeb â'r "Gwiliedydd" o'r flwyddyn 1855 hyd 1858. Bu y Parch. Morgan A. Ellis, a T. B. Morris, yn olygwyr *cynorthwyol* iddo am lawer o amser; a bu Gwilym ab Ioan yn golygu ei farddoniaeth am flyneddau. Bu ei gylchrediad unwaith yn ehelaeth—dros *bum' mil.*

2. "Y CYMRO AMERICANAIDD."—Ymddangosodd y rhifyn *cyntaf* o hono Mai 1, 1853. John M. Jones, Ysw., oedd ei berchenog a'i olygydd; ac argraffwyd ef yn ei swyddfa ef yn New York. Bu y "*Cymro*" am 50 cents y flwyddyn hyd 1855; a bu yn treulio ei amser boreuol i wasanaethu ychydig ar deulu Dic Shon Da-

fydd, trwy gyhoeddi congl o hono yn yr iaith *Saesonaeg*. Wedi hyny daeth yn Gymro glan dilediaith. Bu iddo unwaith 5,500 o dderbynwyr. Cyhoeddwyd llawer o erthyglau campus ynddo am 1859 a 1860. Bu amrai yn cynorthwyo Mr. Jones i'w olygu, sef B. F. Lewis, Eryr Meirion, Eryr Glan Taf, Parchn. John P. Harris, John Edred Jones, John M. Thomas, R. D. Thomas, ac Eos Glan Twrch.

3. "Y GWILIEDYDD AMERICANAIDD."—Ymddangosodd y rhifyn *cyntaf* o hono tua decheu y fl. 1854, dan olygiaeth y Parch. Robert Littler, o South Trenton, N. Y. Wedi hyny bu y Parch. Morgan A. Ellis (T. C.), yn ei olygu. Meddienid ef gan gwmpeini Cymreig, ac argraffwyd ef gan Mr. Evan E. Roberts, yn Utica, N. Y. Ymbriododd â'r "Drych" yn 1855. Bu farw yn niwedd y flwyddyn 1858. Ei bris oedd $1 y flwyddyn. Dywedir fod iddo 1,800 o dderbynwyr yn amser Littler ac Ellis.

Cyhoeddwyd amrai ereill ar wahanol amserau, sef "*Seren Oneida,*" "*Cyfaill yr Undeb,*" "*Yr Amserau,*" &c. Ond ni bu eu hoes ond ber; buont feirw mewn gwendid ac anmharch, ac ni chawsant gefnogaeth, am mai eu prif amcan oedd pleidio *Democratiaeth,* a cheisio gwrthwynebu y Gwerinwyr.

Y. PYTHEFNOSOLION.—1. "*Cymro America.*"—Y Newyddiadur Cymreig *cyntaf* yn America. Cychwynwyd ef yn nechreu y flwyddyn 1832, dan olygiaeth Mr. J. A. Williams (*Don Glan Towy*). Pris $2 y flwyddyn. Yn y flwyddyn hono y bu y *cholera* yn gwneyd galanasdra mawr yn New York; a dyrysodd fasnach y lle. Bu y "Cymro" druan farw yn mhen ychydig fisoedd, o ddiffyg cynorthwy arianol.

2. "*Y Beread.*"—Neu Drysorfa y Bedyddwyr, a chyfrwng gwybodaeth gyffredinol i'r Cymry. Daeth y rhifyn cyntaf o hono allan o'r wasg yn New York, dan olygiaeth y Parch. D. Phillips, pris $2 y flwyddyn, yn Ionawr 1842. Cynnwysai pob rhifyn 16 o dudalenau 8plyg. Bu farw cyn pen blwyddyn, o ddiffyg cefnogaeth.

3. "*Haul Gomer.*"—Daeth y rhifyn cyntaf o hono allan yn Ion., 1848. Cyhoeddid a golygid ef yn Utica, N. Y., gan Mr. Evan E. Roberts (*Ieuan o Garedigion*), a golygid ei farddoniaeth gan Mr. John Edwards (*Eos Glan Twrch*). Pris $1 y flwyddyn. Bu farw yn mhen naw mis ar ol ei gychwyniad, o ddiffyg *cysodwyr* i weithio arno.

4. "*Yr Arweinydd.*"—Gwnaeth ei ymddangosiad cyntaf Ion. 10, 1858. Argraffwyd ef gan Mr. Robert R. Meredith, Rome, N. Y., dan olygiaeth y Parch. Thomas T. Evans, Floyd, am y ddwy flynedd gyntaf; pris 50 cents y flwyddyn. Yn 1860 newidiodd ei ffurf, a bu dan olygiaeth y Parch. William Hughes (T. C.), Utica, pris $1 y flwyddyn. Cynnwysai 24 o dudalenau 8plyg. Yr *Eos* oedd yn golygu ei farddoniaeth. Bu iddo fil o dderbynwyr. Bu farw ar symudiad Mr. Hughes i Racine, Wisconsin.

5. "*Y Bardd.*"—Cyhoeddwyd y rhifyn cyntaf o hono Medi 15, 1858, dan olygiaeth Mr. Thomas Gwallter Price (*Cuhelyn*), y pryd hyny yn Minersville, Pa., pris $1 y flwyddyn. Cynnwysai pob rhifyn o hono 16 o dudalenau 8plyg. Ei arwyddair oedd, "Bod heb ddim yw bod heb Dduw." Cyhoeddiad rhagorol ydoedd; Cynnwysai lawer o draethodau buddiol, ac o ffraethebau digrif. Ond ni ddaeth ond *pum' rhifyn* o hono allan o'r wasg. Ymadawodd ei olygydd i Calfornia.

Y MISOLION.—1. "*Y Cyfaill o'r Hen Wlad.*"—Y Misolyn Cymreig cyntaf a gyhoeddwyd yn America; dan olygiad y Parch. William Rowlands, D. D., New York. Daeth y rhifyn *cyntaf* allan yn Ionawr 1838. Pris $2 y flwyddyn. Cynnwysai 32 o dudalenau 8plyg, wedi hyny 40 tudalen. Bu dan wahanol ffurfiau, ac argraffwyd ef gan wahanol bersonau, mewn gwahanol fanau; yn New York, Utica, a Rome; yn ol symudiadau ei olygydd enwog. Yn 1856 prynodd y Parch. Thomas Jenkins ei haner, a bu yn ei gydolygu a Mr. Rowlands; wedi hyny prynodd ef i gyd, a bu o dan ei olygiad ef yn unig am dymhor. Prynodd Mr. Rowlands ef yn ol, a bu yn ei olygu yn fedrus hyd ei farw-

olaeth. Gostyngwyd ei bris i $1.50 y flwyddyn. Bu iddo yn agos i ddeunaw cant o dderbynwyr. Bu o wasanaeth dirfawr i'n cenedl yn y wlad hon.

2. "*Y Cenhadwr Americanaidd.*"—Un o'r Cyhoeddiadau Misol gwerthfawrocaf yn mhlith cenedl y Cymry yn America ydyw. Dechreuodd ddyfod allan yn y fl. 1840, pris $1.50 y flwyddyn, dan olygiad y Parch. R. Everett, D. D., Steuben, Oneida Co., N. Y., yr hwn a brofodd ei fod yn olygydd chwaethus a medrus, am flyneddau lawer. Cynnwysa y "*Cenhadwr*" bob newyddion pwysig, cartrefol a thramor, a lluaws o draethodau campus ar wahanol destynau.

3. "*Y Dyngarwr.*"—Dechreuodd ddyfod allan yn 1842, dan olygiad y Parch. Robert Everett. Yn mhen dwy flynedd unwyd ef â'r "Cenhadwr."

4. "*Y Detholydd.*"—Cyhoeddwyd ef gan y Parch. R. Everett, am y ddwy flynedd 1850 a 1851. Pris $1 y flwyddyn. Cynnwysai bigion traethodau o gyhoeddiadau Cymreig Cymru. Yr oedd yn gylchgrawn da.

5. "*Y Seren Orllewinol.*"—Daeth y rhifyn cyntaf allan yn 1842, yn Utica, N. Y., dan olygiad y Parch. William T. Phillips (B.). Wedi hyny bu am flyneddau dan olygiad y Parch. John P. Harris (*Ieuan Ddu*), Minersville, Pa. Ac ar ol hyny bu dan olygiad ei berchenog, sef y Parch. Richard Edwards, Argraffydd, Pottsville, Schuylkill Co., Pa., am flyneddau lawer. Cynnwysai 24 o dudalenau 8plyg; pris $1.50 y flwyddyn. Bu iddo 750 o dderbynwyr.

6. "*Y Cylchgrawn Cenedlaethol.*"—Daeth y rhifyn cyntaf o'r cyhoeddiad gwerthfawr hwn allan yn Gorphenaf, 1853. Cyhoeddwyd ef gan Mr. John M. Jones, yn New York. Parhaodd i ddyfod allan hyd Ebrill 1856. Pris $1 y flwyddyn. Cynnwysai y traethodau goreu a gyhoeddwyd yn yr iaith Gymraeg; llawer o honynt wedi eu dethol o'r "*Traethodydd,*" ac o brif gyhoeddiadau ereill yr Hen Wlad; a rhai traethodau o waith rhai o brif gyfansoddwyr y wlad hon.

7. "*Y Golygydd.*"—Cyhoeddwyd ef gan, a than olygiad y Parch, John Jones (*Llangollen*), yn Cincinnati,

Ohio. Daeth pedwar rhifyn o hono allan yn y flwyddyn 1856. Pris $1 y flwyddyn. Dangosai yr hyn a ddaeth allan o hono fod ei olygydd yn ddyn athrylithgar a thalentog; nid oedd ynddo y gradd lleiaf o debygolrwydd i'r cyhoeddiadau ereill. Bu farw yn ei fabandod o ddiffyg cefnogaeth.

CHWARTEROL.—"*Y Traethodydd.*" Dechreuwyd ei gyhoeddi yn nechreu y flwyddyn 1857. Ei berchenog a'i olygydd oedd y Parch. William Roberts, D. D., New York. Argraffwyd ef gan Richards & Jones, yn y ddinas hono. Cynnwysai pob cyfrol o hono 576 o dudalenau. Pris $1.50. Pigion ydoedd o "Draethodydd" yr Hen Wlad, gydag *ychwanegiad* o gyfansoddiadau prif feirdd a llenorion Cymreig America. Ystyriwn bob llyfrgell Gymreig yn anghyflawn heb y "*Traethodydd.*" Ei gylchrediad yn 1860 oedd 750. Bu y cyhoeddiad campus hwn farw yn mhen ychydig flynyddau o ddiffyg cefnogaeth.

## DOSBARTH II.—RHESTR O'R LLYFRAU CYMREIG A GYHOEDDWYD YN AMERICA.

*Hen Lyfrau Cymreig.* 1. "*Y Mynegair Ysgrythyrol cyntaf yn yr iaith Gymraeg.*"—"Cydgordiad egwyddorol o'r Ysgrythyrau, neu Sylfaen Llythyrenol o'r prif eiriau yn y Beibl Santaidd, yn arwain dan y cyfryw eiriau i fuan ganfod pob rhyw ddymunol ran o'r 'Sgrythyrau; a gyfansoddwyd drwy lafurus boen *Abel Morgan*, gweinidog yr efengyl, er lles y Cymry; argraffwyd yn Philadelphia, gan Samuel Kermer, a Dafydd Harry, 1730." Gallwn weled fod Cymry a Chymraeg yn uchel eu parch a'u bri y pryd hwnw yn Pennsylvania, oblegid cawn fod y Mynegair yn cael ei gyflwyno fel y canlyn:—"At yr ardderchog Dafydd Lloyd, Ysw., Pen Barnwr, neu Brif Ynad, Talaeth Pennsylvania."

2. "*Anerch i'r Cymry,*—Yn galw oddiwrth lawer o bethau at yr un peth angenrheidiol, er mwyn cadwedigaeth eu heneidiau; yn enwedig at y tlodion annysgedig, sef crefftwyr, llafurwyr, a bugeiliaid, y rhai o isel

radd; gan *Ellis Pugh*, yr hwn a aned yn mhlwyf Dolgellau, yn Sir Feirionydd, yn y chweched mis, yn y flwyddyn 1656. Argraffwyd yn Philadelphia, Pa., gan Andrew Bradford, yn y flwyddyn 1721. Pasiwyd mewn cyfarfod misol yn Ngwynedd, yn sir Philadelphia, a seiniwyd yn enw y dywededig gyfarfod gan John Hugh, Edward Foulk, John Humphrey; Edward Robert, Hugh Griffith, Meredith David, Thomas Pugh, Rowland Ellis, David Meredith, Thomas Evans, Robert Evans, Owen Evans, Cadwaladr Evans, Robert Jones, Evan Evans, John Evans." Mae yr hen lyfr yn ddeg o bennodau, 110 t. d. 8plyg.

3. *Llyfr Hymnau*, 1808.—Cafodd yr hen lyfr hwn ei argraffu gan Ira Merrell, yn Utica, yn y fl. 1808. Cyhoeddwyd gan yr Annibynwyr. Bu John Roberts, ac Evan Davies, pregethwyr cynorthwyol o Utica, a Walter G. Griffiths, a Timothy Griffiths, o Steuben, yn ymdrechgar a ffyddlon iawn gyda'r gwaith o'i gael allan. Samuel Morris, gweinidog yr Annibynwyr yn Utica, oedd y prif olygydd. Pigion o Hymnau, ac nid ail argraffiad, ydoedd y llyfr. Mae erthygl ddyddorol am y llyfr hwn wedi ymddangos yn y "Cenhadwr." Cyf. xvi. tu dal. 344.

Mae Mr. H. J. Hughes, hefyd, wedi casglu rhestr werthfawr o lyfrau Cymreig ereill a gyhoeddwyd yn ddiweddarach yn America, ac wedi ei hysgrifenu yn drefnus yn niwedd ei Draethawd, gan nodi yr amser y cyhoeddwyd hwynt, enwau y llyfrau, eu plygiadau, nifer eu tudalenau, eu prisiau, pa nifer a gyhoeddwyd, ac a werthwyd, enwau yr awdwyr, a'r cyhoeddwyr, a'r argraffwyr. Ond nid allaf fi yma gyhoeddi yr holl fanylion; dim ond *enwau* y llyfrau, a'u *hawdwyr*, a'r *flwyddyn* y cyhoeddwyd hwynt. Mae y rhan fwyaf o honynt wedi eu cyhoeddi a'u hargraffu gan y personau canlynol:—sef E. E. Roberts, Utica; John M. Jones, New York; R. R. Meredith, Rome; D. C. Davies, Utica; Richards & Jones, a Baker & Godwin, New York; Thomas J. Griffiths, Utica; Richard Edwards, Pottsville; a Dr. Everett, Steuben.

1. Caniadau Byrion. Parch. S. Roberts, M. A. 1834.
2. Amddiffyniad o Brynedigaeth Neillduol. Rushton. 1838.
3. Casgliad o Hymnau. W. Williams. 1838.
4. Cofiant Morgan Howell. T. Edwards. 1853.
5. Pryddest Fuddugol. William Ambrose. 1854.
6. Traethawd ar yr Iawn. S. Bowen. ——
7. Cysondeb y Pedair Efengyl. E. Robinson, a L. Edwards, D. D. 1857.
8. Hanes yr Hen Gymry. Morgan, Tregynon. 1860.
9. Armagedon. Anadnabyddus. 1853.
10. Armagedon a'r Attodiad. Anadnabyddus. 1854.
11. Barn a Darfelydd. William Jones. 1854.
12. Geirlyfr Cymraeg a Saesonaeg. William Spurell. 1860.
13. Geirlyfr Saesonaeg a Chymraeg. " 1860.
14. Tri Rheswm. M. Pendleton (John Edred Jones). 1857.
15. Casgliad o Emynau. J. P. Harris (Ieuan Ddu). 1854.
16. Llais o'r Llwyn. John Edwards (Eos Glan Twrch). 1854.
17. Cyfarwyddiadau Eglur. Dr. J. W. Alexander, (Cyf. B. F. Lewis). 1856.
18. Mynegair Ysgrythyrol. T. Jenkins a D. C. Evans. 1859.
19, 20, 21. Dyddiadur y T. C. am 1858, 1859, 1860. T. Jenkins.
22. Dyddiadur y T. C. a'r A. am 1861. T. Jenkins a D Price
23. Angau yn y Crochan. Parch. Wm. Rowlands. 1836.
24. Y Durtur ; Emynau Dirwestol. " 1845.
25. Geiriadur Ysgrythyrol. Parch. Thomas Charles. 1845.
26. Traethawd ar y Sabboth. Parch. John Elias. 1845.
27. Hyfforddwr. Parch. Thomas Charles. 1845.
28. Silliadur. E. E. Roberts. 1845.
29. Christmasia. Brutus. 1845.
30. Perl Ysgrythyrol. Parch. J. Mills. 1846.
31. Esponiad ar y Datguddiad. Parch. David Morgan. 1846.
32. Geiriadur Saes. a Chymraeg. Wm. Richards, LL. D. 1846.
33. Casgliad o Emynau. R. Mills. 1847.
34. Defodau Dwyreiniol. Baxter & Burder. Cyf. E. Griffiths. 1848.
35. Egwyddoreg o'r Iaith Gymraeg. R. Edwards. 1849.
36. Cyfarwyddydd Profedig. John Edwards. 1849.
37. Y Meddyg Teuluaidd. Dr. H. Ll. Williams, Utica. 1851.
38. Arfogaeth y Cristion. Wm. Gurnal. 1850.
39. Fy Chwaer. Parch. T. Jones, Wyddgrug. 1852.
40. Hanes yr Eglwys Gristionogol. Wm. Jones. 1852.
41. Bywyd Joseph. John MacGowan. 1850.
42. Geirlyfr Ysgrythyrol. Parch. John Mills. 1853.
43. Geiriadur Saes. a Chymraeg. Thomas Edwards. 1853.
44. Gramadeg Caledfryn. Caledfryn. 1853.
45. Drych Barddonol. " 1853.
46. Llaw Fer. Parch. Edward Jones, Ohio. 1859.
47. Etholedigaeth Gras. Parch. Wm. Roberts. 1856.
48. Hanes Moses a Joseph. Parch. Thomas Jenkins. 1859.
49. Telyn y Plant. D. C. Evans. 1860.

50. Bywyd Lincoln. Cyh. gan D. C. Evans. 1860.
51. " Cyh. gan R. Edwards. 1860.
52. Casgl. o Emynau Wesleyaidd. R. Williams, &c. 1855.
53. Etholedigaeth Gras. Parch. R. L. Herbert. 1856.
54. Lamp y Cysegr. Parch. David Williams. 1857.
55. Y Rhyfel yn y Dwyrain. J. W. Jones, Gol. y *Drych*. 1856.
56. Crachfeirniadaeth. Parch. Llewelyn J. Evans. 1859.
57. Salmau a Hymnau. Parch. Wm. Rowlands. 1855.
58. Gweithiau Awdurol J. P. Davies. Parch. J. P. Davies (B.), Tredegar. 1846.
59. Cyffes Ffydd y T. C. Cyh. Wm. Rowlands. 1842.
60. Dechreuad a Chynydd y T. C. yn America. Parch. Wm. Rowlands. 1842.
61. Hyfforddwr. Parch. Thomas Charles, 1842.
62. Dirwest yn seiliedig ar y Beibl. Parch. T. R. Jones. 1853.
63. Arweinydd Esmwyth. Parch. Wm. Rowlands. 1849.
64. Dammeg y Mab Afradlon. " 1860.
65. Rhodd Mam. Parch. John Parry. 1860.
66. Eliasia. Bleddyn (Brutus). 1846.
67. Hyfforddwr. Parch. Thomas Charles. 1859.
68. Holwyddoreg o'r Cyffes Ffydd. J. W. Jones, Penparc. 1857.
69. Caniadau Seion, &c. Y diweddar R. Mills. 1853.
70. Hanes Joseph. Parch. Thomas Jenkins. ——
71. Aberth Crist. Barddoniaeth. Parch. D. Jones, Caernarfon.
72. Esponiad ar y Testament Newydd. Parch. Jas. Hughes. 4 Cyf. $6. 1855.
73. Y Frwydr Fawr. Anhysbys. 1853.
74. Y Pregethwr a'r Gwrandawr. Parch. Richard Williams, Liverpool. 1855.
75. Drych Prophwydoliaeth. Parch. J. Hughes, L'pool. 1855.
76. Y Drysorfa Gerddorol. H. J. Hughes, New York. 1857.
77. Darlith ar y Greadigaeth. Parch. Wm. Rowlands. 1858.
78. Cyfansoddiadau Cerddorol, Buddugol yn Eisteddfod Racine, Wis. J. P. Jones. 1858.
79. Anthem ar Matthew. J. D. Owen. 1859.
80. Anthem—" O nae bae fy mhen," &c. Owen Davies. 1858.
81. Rhodd Mam. Parch. J. Parry. 1858.
82. Rhodd Tad. " 1857.
83. Llyfr Cyntaf. R. R. Meredith. 1858.
84. Cyfarwyddwr. Parch. Wm. Rees, D. D. 1859.
85. Taith i Palestina. Parch. John Mills. $1. 1860.
86. Athrawiaeth yr Iawn. Parch. L. Edwards, D. D. 1860.
87, 88. Dyddiadur y T. C. am 1856, 1857. Parch. T. Jenkins.
89. Oriau Olaf Iesu Grist. Parch. Lewis Jones. 1851.
90. Marwnad J. Jones, Talsarn. Eben Fardd. 1858.
91, 92. Dyddiadur yr A. am 1857, 1858. Iorthryn Gwynedd.
93. Trydedd Eisteddfod Utica. Y Cyfansodd. Buddugol. 1858.
94. Cofiant Wm. Williams, Wern. Parch. Wm. Rees. 1844.
95. Caniadau y Cysegr. Casgl. Everett, M. a G. Roberts. 1846.
96. Eglwys yn y Ty. Mathew Henry. 1846.

97. Coft. Dl. Griffiths, C. Nedd. Parch. Philip Griffiths. 1850.
98. Awdlarwest Joseph a'i frodyr. Ieuan Ddu. 1857.
99. Naomi—Pryddest. Parch. J. P. Harris. 1858.
100. Caniadau y Cyssegr. Ail-argraff. Casgl. Everett, &c. 1846.

Cyhoeddodd CYMDEITHAS Y TRAETHODAU y rhai canlynol:

1. Gorphwysfa y Saint, gan Baxter, t. d. 451.
2. Hanes Gwaith y Prynedigaeth, gan Edwards, t d. 395.
3. Taith y Pererin, gan John Bunyan, t. d. 372.
4. Yr Ymofynydd Pryderus, gan J. Angel James, t. d. 201.
5. Galwad i'r Annychweledig, gan Baxter, t. d. 166.

Hefyd, cyhoeddodd y Gymdeithas haelionus uchod dros ugain o Draethodau Cymreig gwerthfawr, megys "Croes Crist," t d. 20; "Cyfeiliornadau Cyffredin," t. d. 16; "Gwahoddiad Graslawn at Iesu Grist," t. d. 16; "Fy Ffordd fy Hun," t. d. 16; "Gwobrau Meddwdod," t. d. 4, &c., &c. A chyhoeddasant lawer o Law-nodau, megys "YDydd Sabboth," &c., &c.

SYLWADAU DIWEDDOL.—Terfyna Hugh J. Hughes, Ysw., ei Draethawd cynnwysfawr trwy y Sylwadau Diweddol canlynol. Dywed,—"Pan yn ymaflyd yn y testyn dan sylw i ddechreu, yr oeddwn yn bwriadu ysgrifenu ychydig o hanes amryw o Gymry, ac o hiliogaeth Gymreig sydd wedi hynodi eu hunain fel gwleidiadwyr (*statesmen*), megys Wm. Penn, Roger Williams, John Adams, Thomas Jefferson, James Madison, James Monroe, John Quincy Adams, William H. Harrison, &c., y rhai y dywedir eu bod o waedoliaeth Gymreig; yn nghyd ag amryw fu mewn swyddi uchel yn y Wladwriaeth yn amser y chwildroad Americanaidd; hefyd, amryw athrawon dysgedig mewn colegau, meddygon, celfyddydwyr, masnachwyr, &c. Ond trwy fod y maes mor ehelaeth, a'r defnyddiau mor wasgaredig, a'r amser mor fyr i'w casglu at eu gilydd, gorfu arnom droi pen ar ein Traethawd cyn ei haner gwblhau yn ol ein cynllun dechreuol; ond os cawn fywyd ac iechyd, bwriadwn ei orphen eto. Nid ydyw ein bod wedi ysgrifenu mwy am rai yn profi eu bod yn fwy enwog nag ereill yr ysgrifenasom lai am danynt; ond yn hytrach gwnaethom yn ol y manteision a'r cyfleusderau oedd genym i wneyd. Addefwn mai gorchwyl lled anhawdd ydyw ysgrifenu hanes dynion cyhoeddus i foddhau pawb, ac mai gwaith anhawddach na hyny ydyw rhoddi desgrifiad cywir o honynt. Hefyd, gyda golwg ar y

llyfrau Cymreig a gyfansoddwyd ac a gyhoeddwyd yn America, yr oeddwn wedi bwriadu gwneyd adolygiad byr arnynt oll; yr un modd ar y llyfrau Cymreig a gyfansoddwyd ac a gyhoeddwyd gan Gymry yn yr Hen Wlad, cyn iddynt ymfudo i'r wlad hon, megys 'Blodau Glyn Dyfi,' gan y Parch. Lewis Meredith; 'Yr Adeiladydd Teuluaidd,' gan y Parch. David Price (Dewi Dinorwig); 'Ceinion Awen y Cymry,' gan y diweddar Thomas Lloyd Jones (Gwenffrwd); 'Y Crochan Aur,' yn cynnwys traethodau ar yr Ysgol Sabbothol, &c.; a'r 'Ymfudwr,' gan y Parch. R. D. Thomas (Iorthryn Gwynedd); 'Y Delyn Gymreig,' gan Mr. H. Hughes, Utica; a llawer ereill. Mae hefyd amryw o lyfrau Saesoneg wedi eu cyfansoddi a'u cyhoeddi o waith Cymry America, y bwriadem wneyd mwy o sylw o honynt nag a wnaethom.

"Yr oeddem wedi meddwl rhoddi ychydig o hanes y gwahanol gyfarfodydd llenyddol, eisteddfodau, a chymdeithasau Cymreig ereill ein gwlad; ond rhaid troi y cwbl o'r neilldu yn bresenol, gan ddisgwyl cael cyfleustra eto i sylwi arnynt, cyn cyhoeddi y gwaith hwn. Dylai y darllenydd gofio mai nid pigion o weithiau y beirdd a ddyfynasom, ond yn hytrach rhyw ddarnau a gawsom agosaf at law wrth ysgrifenu eu hanes.

"Dyledus ydym i lawer o lenorion a beirdd, &c., am ein cynysgaeddu â defnyddiau yn cynnwys ffeithiau hanesiol am feirdd a llenorion, ac enwogion mewn gwahanol gangenau ereill o wybodaeth; gwnaethom ddefnydd o rai o honynt yn y traethawd hwn, a bwriadwn wneyd defnydd o'r gweddill eto. Gallem enwi Mr. Wm. J. Williams (Gwilym ab Ioan), New York; Mr. Benjamin F. Lewis, a Mr. John O. Pritchard, Utica, N. Y.; yn nghyd a degau ereill a allem nodi.

"Yn awr, wrth derfynu, dymunem i'r darllenydd basio heibio i bob anmherffeithrwydd yn y gwaith hwn, a'i ystyried yn ffrwyth llafur caled un sydd yn hoffi llwyddiant y Cymry a'u llenyddiaeth yn mhob man, yn enwedig yn America."

HUGH J. HUGHES.

## PENNOD IV.

**RHESTR YCHWANEGOL O'N BEIRDD, A'N LLENORION, EIN GOLYGYDDION, A'N HAWDURON, A'N CERDDORION, A'N LLYFRAU.**

Aeth heibio dros ddeng mlynedd o amser gwerthfawr er pan ysgrifenodd H. J. Hughes, Ysw., ei Draethawd gwerthfawr. Yn y cyfnod hwnw cymerodd llawer o gyfnewidiadau le yn mhlith Cymry America, ac ymfudodd llawer o Gymry parchus i'r wlad hon. Mae y rhestr hon yn cynnwys llawer o enwau na welir yn Nhraethawd Hughes. Nid wyf yn gadael neb allan yn fwriadol. Caraswn ei gwneyd yn gyflawn a pherffaith, ond yr oedd hyny yn annichon; a buasai yn hyfrydwch i mi pe gallaswn gyhoeddi hanes byr am bob un o honynt yn y gyfrol hon; ond gwnaf hyny yn y gyfrol nesaf, os caf gefnogaeth ddigonol. Nid wyf yma yn gosod ein *prif*-feirdd, &c., ar ben y rhestr, ond yn eu rhestru yn mhlith ereill yn ddiwahaniaeth yn eu gwahanol dalaethau.

### BEIRDD CYMREIG AMERICA.

J. Edwards (Eos Glan Twrch), Rome, N. Y. Bardd Cadeiriol.
Parch. J. P. Harris (Ieuan Ddu), Sandusky, Cattaraug. Co. N. Y.
Joseph W. Nichols (Neifion), Utica, N. Y. Bardd Cadeiriol.
Philip D. Phillips (Philos o'r Cwm), Utica, N. Y.
John D. Morgan (Argraffydd), Utica, N. Y.
Ellis Thomas (Gof), Utica, N. Y.
Richard H. Hughes, " (Bu farw.)
Thomas Solomon Griffiths, Utica, N. Y.
John Evans (Bardd y Bowery), New York.
Robert Richards (Argraffydd), New York.
William Owen, Rome, Oneida Co., N. Y.
Richard M. Williams (Ab Morydd,) Floyd, N. Y.
Parch. Robert Evans (Trogwy), Remsen, N. Y.
Parch. Morris Williams (B.), Remsen, N. Y.
Owen R. Griffiths (Owain Ifor), New Hartford, Oneida Co. N. Y.
W. G. Roberts (Ab R. ab Gwilym Ddu), Turin, Lewis Co , N. Y.

Rowland Walters (Ionoron Glan Dwyryd), Hydeville, Vt.
Bardd Cadeiriol.
John Edno Roberts (Edno), Fairhaven, Rutland Co., Vt.
Richard Ifor Parry (Ifor), " "
Parch. R. L. Herbert, " "
Robert Williams, " "
William Jones, " "
Benj. Williams (Ben o Arfon), Middle Granville, N. Y.
John D. Jones, " "
John Gyffin Jones, " "
Parch. Samuel Jones, " "
John Owen (Orwig Wyllt), " "
Wm. Griffiths (Gwilym Galedffrwd), Jamesville, Poultney, Vt.
Joseph Williams (Eryr Arfon), " "

Aneurin Jones (Aneurin Fardd), Wilkesbarre, Pa. Bardd Cad.
Parch. Hugh C. Parry (Cefni), Providence, Luzerne Co., Pa.
T. B. Morris (Gwyneddfardd), Scranton, Pa. Bardd Cadeiriol.
Henry M. Edwards (Harri Ddu), Hyde Park, Pa. Bardd Cadeir.
Samuel Williams (Gwentydd Fardd), Hyde Park, Pa.
William Evans (Gwilym Cyrwen), "
John Powell (Ap Howel), "
John Hughes (Irlwyn) "
Joseph Prosser (Penfelyn), "
David Jones (Dewi Gwyllt), "
Thomas Evans (Cilcenin), "
Jonathan Edwards (Nathan), Providence, Pa.
David Powell (Dewi Cwmtwrch), Bellevue, Pa.
Isaac Benjamin (Bardd Coch), "
Evan Morgan (Gwilym Cynlais), "
John Evans (Gwawrfryn), Taylorville, Pa.
James Price (Iago Ap Rhys), "
Nid wyf yn gwybod enw priodol " Garibaldi," Bellevue, Pa.
Mr. Ivor Cynidr Parry, Jonathan Edwards, Providence, "
Mr. J. J. Morris, Mrs. Jones, "
Edward Williams (Iolo Mynwy), Pittston, Luzerne Co., Pa.
John E. Roberts (Cymro Brith), " "
David Williams, " "
Mr. Roberts (Callestr), Wilkesbarre, Pa.
David Jenkins (Dyffrynog), "
Parch. David Evans (Trelech), Plymouth, Luzerne Co., Pa.
Parch. Thomas J. Phillips (Cyw Ionawr), Plymouth, "
Parch. William Morgan (B.), "
David Davies (Dewi Idloes), "
Parch. Maurice Evans (B.), Taylorville, "
Mr. T. Lloyd Roberts (Dwyfawr), Nanticoke, Luzerne Co., Pa.
David Williams, Kingston, "
Isaac Davies, " "
Daniel Evans (Daniel Ddu), Gibson, Susquehanna Co., Pa.
John Griffiths (Ioan Llyfnwy), Danielsville, Lehigh Co., Pa.

Parch. Hugh H. Thomas (A.), Pittsburgh, Pa.
John W. John (Eryr Taf), "
John A. Anwyl, St. Clairs, Schuylkill Co., Pa.
Morgan Evans (Meurig Aman), Summit Hill, Carbon Co., Pa.
Mr. Evans (Darenydd), " "
John W. Williams, Mahanoy City, Schuylkill Co., Pa.
William Watkins, " "
Evan Phillips, " "
David James, " "
Evan J. Griffiths, " "
Rees P. Jones, " "
Dr. Idris Davies (Amosydd), " "
Wm. J. Thomas, Shenandoah, "
Jonathan Ellis, " "
John Morgan (Melinos), Ashland, "
Parch. Benjamin Jones (B.), Centralia, Columbia Co., Pa.

Parch. D. Davies (Dewi Emlyn), Brookfield, Trumbull Co., O.
John D. Jones (Durtur Mon), " "
Parch. Llewelyn J. Evans, M. A., Cincinnati, Ohio.
Josiah Jones, Gomer, Allen Co., Ohio.
Daniel Davies, Alliance, Stark Co., "
David M. Evans (Dewi Morlais), Alliance, Stark Co., Ohio.
Richard P. Davies (Llawddog), Cleveland, Ohio.
David F. Lewis, Newburgh, Cuyahoga Co., "
Parch. Wm. Lawrence (B.), Pomeroy, Meigs Co., Ohio.
David T. Edwards (T. C.), " "
Thomas Francis, David Davies, Evan Lewis, "
Parch. John M. Thomas (A.), Ironton, Lawrence Co., Ohio.
Parch. T. C. Edwards (Cynonfardd), Mineral Ridge, Trumbull Co., Ohio.
Parch. Mr. Thomas (B.), Newburgh, Cuyahoga Co., Ohio.
Thomas Davies, Knoxville, Tennessee.
Parch. D. J. Nicholas (Ifor Ebwy), Church Hill, Ohio.
John E. Jones (Ioan ab Ioan), Bridgeport, Illinois.
Parch. David Price (Dewi Dinorwig), Williamsburgh, Iowa.
Parch. David Lewis (Dewi Mynwy), Given P. O., Mahaska Co., Iowa.

Parch. R. Foulkes Edwards (Rhisiart Ddu o Wynedd), Rosendale, Wisconsin. (Marw).
Evan M. Evans (Morddal), Arena, Iowa Co., Wis.
Parch. Meredydd Evans (Gog Glan Ohio), Dodgeville, Wis.
Robert C. Owen (Trebor Fardd), "
Richard Jones (Hendre), Cambria, Columbia Co., Wis.
Parch. John Cadwaladr (Ioan Teigiel), Milwaukee, Wis.
William E. Powell (Gwilym Eryri), "

Ellis Ellis (Glyn Dyfi), Mankato, Blue Earth Co., Minnesota.
Edward Thomas, South Bend, " "

Parch. D. M. Jones (T. C.), Horeb, Butternut Valley Minn.
Parch. Jenkin Jenkins (A.), "
J. I. Davies, Judson P. O., "
Thomas Evans, Evan Evans, O. Richards, W. Hughes, Bethel, Minnesota.

Parch. G. Griffiths (A.), New Cambria, Macon Co., Missouri.
Hugh H. Hughes (Bardd Maldwyn), "
Robert Powell (Robin Glan Wnion), "
John Jenkins (B.), Bevier, "
Parch. Thomas W. Davies (A.), Dawn, Livingston Co., Mo.
Hugh Jones (Hugh ab Jones), " "
David Morgan, a David Hughes, "

Parch. T. G. Jones (Tavalaw), Arvonia, Osage Co., Kansas. Cadeirfardd.
D. Lloyd Davies (Dewi Glan Peryddon), Arvonia, Osage Co., Kansas, Cadeirfardd.
J. W. Rice (Iago Ddu), Arvonia, Osage Co., Kas. Cadeirfardd.
Wm. A. Jones (Wil Sir Fon), Bala, Powys, Riley Co., Kas.

Hugh T. Owen (Obedog o Fon), Livermore, California.
David Cadwgan (Cadwgan Fardd), Columbiana, Shelby Co., Alabama.

Barddones—Mrs. Laura Griffiths, Prospect, Oneida Co., N. Y. Bu farw.

## LLENORION CYMREIG AMERICA.

Mae y rhan fwyaf o'n gweinidogion a'n pregethwyr, a braidd yr oll o'n beirdd, yn y wlad hon, yn ystyried eu hunain yn llenorion, am eu bod yn ysgrifenu ychydig weithiau i'n cylchgronau Cymreig; ac y mae llawer o honynt yn llenorion medrus. Efelly y mae ein Hawdwron a'n Golygyddion. Ond y mae y rhai canlynol hefyd yn deilwng o sylw parchus, fel llenorion Cymreig. Ysgrifenodd rhai o honynt *Draethodau* campus i'r misolion a'r Eisteddfodau.

Samuel Jenkins, Phila., Pa., (yn awr California). Hanesydd.
Daniel L. Jones, New York. Hynafieithydd.
Parch. Jonathan J. Jones (A.), New York. Hanesydd.
Thomas R. Everett, New York.
William o Fon, Utica, Oneida Co., N. Y.
David Pierce (gynt o Lanrwst, G. C.), Utica, N. Y. (Marw).
Richard Jones (tyddynwr), Rome, N. Y. Traethodwr.
Parch. John H. Jones (T. C.), "
Parch. Sem Phillips (A.), Steuben, N. Y. Hanesydd.

Parch. Lewis Williams, Turin, Lewis Co., N. Y.
Anrh. Thos. L. Hughes (T. C.), Portland, Jackson Co., Ohio. Traethodwr.
Thomas B. Jones, Youngstown, Mahoning Co., Ohio.
Anthony A. Williams, " "
Thomas Roderick, Brookfield, Trumbull Co., Ohio.
David A. Lewis (A.), Portsmouth, Scioto Co., Ohio.
Parch. Rees Lewis (T. C.), Columbia, Lancaster Co., Pa.
Parch. Edward R. Lewis (Iorwerth Callestr), Pottsville, Pa.
Henry W. Evans (*Phrenologist*), Pittston, Pa.
Thomas Evans (Athronydd), Gibson, Susquehanna Co., Pa.
Parch. J. M. Pryse, Minn. Traethodwr a dadleuydd enwog.
Parch. G. Griffiths (A.), New Cambria, Mo. Traethod. medrus.
David H. Price, Old Man's Creek, Iowa (*Phrenologist*).
John H. Jones, Bevier, Macon Co., Missouri.
Wm. R. Jones, Judson P. O., Minnesota.
Mr. Rees, J. Jones, " "
Daniel Jones, J. S. Davies, Horeb, "
John Thomas, Arvonia, Osage Co., Kansas.

## AWDURON CYMREIG AMERICA.

Cyhoeddwyd y llyfrau canlynol ar ol y fl. 1860, (yn ychwanegol at y rhestr o'r Llyfrau Cymreig a wnaeth H. J. Hughes,) gan yr awduron canlynol:—

Hanes y Gwrthryfel Mawr, 2 Gyfrol, gan J. W. Jones a T. B. Morris.
Corff o Dduwinyddiaeth. 2 Gyfrol, gan y Parch. J. E. Davies, (T. C.)
Yr Hosanna, gan Edward J. Lewis, Utica, N. Y. 1864.
Areithiau a Chaniadau, gan y Parch. Samuel Roberts, (S. R.) 1864.
Pregethau a Darlithiau, gan yr un awdwr parchus. 1865.
Llaw Fer, (4ydd argraffiad,) gan y Parch. Ed. Jones, P. Ph. A. 1866.
Cofiant y Parch. Ll. D. Howell, Utica, N. Y., gan y Parch. Ed. Davies. 1866.
Grawnwin Addfed, (Pregethau Gweinidogion Cymru,) " " 1867.
Esponiwr y Datguddiad, gan y Parch. R. Gwesyn Jones, Utica, N. Y. 1867.
Y Delyn Aur, (Emynau a Thonau,) gan H. J. Hughes, New York. 1868.
Yr Eglwysi Cristionogol, gan y Parch. R. D. Thomas. 1869.
Hanes y Parch. Mr. Harris, (T. C.), Merthyr, gan y Parch. T. R. Jones. 1870.
*The Heroes of Faith*, (Saes.), gan y Parch. D. T. Phillips, (B.), Phila. 1871.
Barddoniaeth, gan y Parch. Hugh C. Parry (Cefni). 1871.
Pregethau a Thraethodau, gan y Parch. D. W. Morris, (B.) 1871.
Y Corfanau, &c., gan Gwentydd Fardd, Hyde Park, Pa.
Gemau Llwyfo, (Barddoniaeth,) gan Llew Llwyfo.
Pregethau, &c. Parch. E. Evans, (Nantyglo,) Portland, O. 2 Gyfrol.
Duwioleg. (Barddoniaeth,) Parch. R. Evans (Trogwy), Remsen, N. Y.
Traethodau, gan Aneurin Fardd, Wilkesbarre, Pa.
Y Ford Gron, gan yr un. Bu farw.

## CYHOEDDWYR CYMREIG AMERICA.

Yr ydym dan rwymau i gydnabod, gyda diolchgarwch diffuant, amrai o Gymry cenedlgarol a wnaethant ymdrechion egniol, trwy rwystrau lawer, i GYHOEDDI *llyfrau Cymreig, a'u dosparthu* yn mhlith Cymry

gwasgaredig y wlad eang hon. Ni chawsant ond ychydig o gefnogaeth deilwng, na thâl digonol; er hyny ymwrolasant, a gwnaethant ddaioni dirfawr. Oni buasai llafur y fath ddynion, buasai Cymry America heddyw yn amddifaid o lawer o lyfrau Cymreig tra gwerthfawr. Dyma y personau sydd yn teilyngu bythol barch fel *cyhoeddwyr Cymreig:*—

**Evan E. Roberts, (Argraffydd,) Utica, Oneida Co., N. Y.**
**John M. Jones, (Gol. y Cymro,) gynt New York, yn awr Utica, N. Y.**
**Robt. R. Meredith, (Argraffydd,) gynt Rome, N. Y., yn awr Chicago, Ill.**
**Parch. Thos. R. Jones (T. C.), gynt Rome, N. Y., yn awr Alliance, Ohio.**
**Parch. Thos. T. Evans (T. C.), gynt Floyd, yn awr Holland Patent, N. Y.**
**Parch. R. Everett. D. D. (A.), Steuben, Oneida Co., N. Y., Remsen P. O.**
**Parch. Richard Edwards (B.), Pottsville, Schuylkill Co., Pa.**
**Y diweddar Barch. Wm. Rowlands, D. D., Utica, N. Y.**
**Benj. F. Lewis, (Argraffydd,) Utica, N. Y.**
**Parch. David C. Evans, Utica, N. Y.**
**Parch. Thomas Jenkins (T. C.), Utica, N. Y.**
**Richards & Jones, (Argraffwyr,) New York.**
**Swyddfa y *Drych*, J. Mather Jones. T. J. Griffiths, Argraffydd, Utica, N. Y.**
**Swyddfa *Baner America*, W. S. Jones, Box 174, Scranton, Pa.**
**Swyddfa y *Cyfaill*, Parchn. Wm. Roberts a M. A. Ellis, Hyde Park, Pa.**

## DOSPARTHWYR LLYFRAU CYMREIG.

Nid oes genym eto, yn America, argraffwyr na chyhoeddwyr *cyfoethog*, a galluog i gyhoeddi llyfrau ar eu traul eu hunain, ac i dalu i ddosparthwyr am eu gwerthu yn yr holl dalaethau yn ddioed, trefnus, a diogel, fel y sydd gan yr Americaniaid. Byddai hyny yn ddymunol iawn; yn gefnogaeth i awduron Cymreig, ac yn llesol i'r genedl. Ond rhaid i ni yn awr, nid yn unig fyned drwy y llafur mawr o ysgrifenu ein llyfrau, ond hefyd gymeryd y cyfrifoldeb dirfawr o dalu i'r argraffwyr, a'r gwaith dirboenus o'u *dosparthu;* a dyoddef gwg a gwawd rhai dynion am hyny hefyd. Gorfu i rai o weinidogion parchusaf y gwahanol enwadau yn Nghymru wneyd felly; a gwnaethant les mawr i'r genedl. Yr un modd y bu, ac y mae, yn mhlith Cymry America. Yr ydym, hyd yma, wedi ymddibynu ar ein *pregethwyr,* ac ar ddynion crefyddol a ffyddlon yn ein heglwysi, am ddosparthu ein llyfrau. Teilyngant ganmoliaeth. Ni raid i'r eglwysi ofni cyhoeddi a gwerthu llyfrau da a chrefyddol yn eu capelau ar nosweithiau yr wythnos. Gwna llyfrau felly les i

eneidiau, a gogoneddant Dduw. Dyma ein *Dosparthwyr* penaf:—

**Parch. Thos. T. Evans (T. C.), Holland Patent, Oneida Co., N. Y.***
**Parch. Thomas R. Jones (T. C.), Alliance, Stark Co., Ohio.**
**Parch. Jos. E. Davies (T. C.), Hyde Park, Luzerne Co., Pa.**
**Parch. W. Hughes (T. C.), Racine, Wisconsin.†**
**H. J. Hughes, Box 31, Station D, New York. Bu farw.**
**A. O. Jones, Box 536, Columbus, Ohio.†**

***Mae Mr. Evans wedi dechreu cyhoeddi "Y Llyfrgell Gristionogol," yn gynnwysedig o weithiau hen a diweddar. Daw allan yn rhifynau. E. E. Roberts, Argraffydd, Utica, N. Y.**

**† Gellir cael pob math o lyfrau Cymreig o Gymru gan Hughes a Jones.**

GOLYGYDDION PRESENOL EIN CYLCHGRONAU.

Bu amrai o'n cylchgronau feirw o ddiffyg cefnogaeth; ac y mae y "SEREN ORLLEWINOL" (cyhoeddiad misol y Bedyddwyr Cymreig) wedi diflanu er ys dros dair blynedd; ond gwneir ymdrech i'w chyhoeddi eto yn fuan. Ond y mae y "DRYCH" wedi dal ei ffordd, ac ychwanegu cryfder. Mae y rhifynau a gyhoeddwyd eleni (1871) o'r Gyfrol XXI, yn dra chynnwysfawr a chwaethus, ac wedi rhoddi boddlonrwydd cyffredinol. Perchenog, J. Mather Jones, Ysw.; Golygwyr, J. C. Roberts, a Joseph W. Nichols (*Neifion*); Argraffydd, Thomas J. Griffiths, Utica, N. Y. Mae nifer ei dderbynwyr yn bresenol dros 5,000; a gwyddom ei fod yn y chwe' blynedd diweddaf yn cael ei drefnu yn dda, ei olygu yn ofalus, a bod llawer o ysgrifau campus wedi eu cyhoeddi ynddo. Teilynga gefnogaeth gyffredinol.

"BANER AMERICA."—Mae Rhifyn 14, o'r IV Gyfrol, o'r cyhoeddiad wythnosol hwn, newydd ei gyhoeddi (Hydref 4, 1871). Perchenogion, Pwyllgor o Gymry cyfrifol yn Hyde Park, a manau ereill, yn Pa. Am y flwyddyn gyntaf, ei Golygwyr oeddynt y Parchedigion Morgan A. Ellis (T. C.), Fred. Evans (B.), a'r diweddar David Parry, (*Dewi Moelwyn*); a Henry M. Edwards yn Drefnydd Cyffredinol. Wedi hyny rhoddasant eu swyddi i fyny yn anrhydeddus; a phenododd y Pwyllgor Thomas B. Morris (*Gwyneddfardd*) yn Olygydd, a W. S. Jones yn Drefnydd Cyffredinol, iddi; ac y maent wedi gweithio yn egniol er ei gwneyd yn gyhoeddiad cynnwysfawr a chwaethus, ac wedi cael cym-

eradwyaeth cyffredinol. Mae ganddi lawer o ohebwyr medrus, o farn, o dalent, ac o chwaeth goethedig. Nid wyf yn gwybod nifer ei derbynwyr; ond gwn eu bod yn lluosogi yn barhaus. Teilynga gefnogaeth y genedl. Argreffir hi yn Rhif 416 Lackawana Avenue, Scranton, Luzerne Co., Pa.

"Y CENHADWR."—Y mae y Rhifyn 10, o'r Gyfrol XXXII, o'r cyhoeddiad misol gwerthfawr hwn newydd ei gyhoeddi (Hydref 1871). Mae ei hen Olygydd enwog, y Parch. Robert Everett, D. D., yn 80 mlwydd oed, er Ionawr 1, 1871, ac y mae gofal mwyaf ei olygiaeth arno ef eto! Ond cynorthwyir ef gan ei fab dysgedig, a'r llenor Cymreig medrus, Lewis Everett, Ysw., er ys blyneddau; a golygir y *farddoniaeth* gan y Parch. Robert Evans (*Trogwy*), Remsen, N. Y. Ystyrir y "Cenhadwr" yn un o'r cyhoddiadau misol goreu, a rhataf, yn y wlad hon. Credwyf fod ganddo yn awr yn agos i ddwy fil o dderbynwyr. Perchenogir a chyhoeddir ef gan Mr. Everett ei hunan, yn ei swyddfa yn ymyl ei dy ei hun, yn Steuben. Remsen P. O., Oneida Co., N. Y.

"Y CYFAILL."—Dyma y cyhoeddiad misol hynaf. Y mae y Rhifyn 10, o'r Gyfrol XXXIII, allan o'r wasg (Hydref 1871). Bu dan olygiad craffus a medrus y llenor Cymreig coethedig, y diweddar Barch. William Rowlands, D. D., o Ionawr, 1838, hyd ei farwolaeth (gyda'r eithriadau a nodwyd gan H. J. Hughes). Cyhoeddiad y Trefnyddion Calfinaidd yn y wlad hon ydyw; gwiliodd yn ofalus drostynt, amddiffynodd a lledaenodd eu hegwyddorion, a bu o ddirfawr lesâd iddynt. Ei olynwyr presenol ydynt y gweinidogion enwog, a'r llenorion medrus, y Parchedigion Morgan A. Ellis, Hyde Park, a Wm. Roberts, D. D., Bellevue, Luzerne Co., Pa. Hwynt-hwy hefyd yw golygwyr *Dyddiadur* y T. C. Argreffir hwynt gan H. J. Hughes, yn ei swyddfa yn New York, yn hardd a destlus.

"YR YSGOL."—Cyhoeddiad Misol i Blant ac Ieuenctyd Cymry America. Cyhoeddedig gan, a than olygiaeth H. J. Hughes, yn ei swyddfa yn New York. Daeth Rhifyn 3, o'r Gyfrol I, o'r "*Ysgol*" allan o'r

wasg, Chwefror, 1870, a pharhaodd i ymddangos, ond nid yn rheolaidd, hyd yn awr. Pris $1 y flwyddyn. Un o'r misolion mwyaf destlus, cynnwysfawr, chwaethus, a buddiol i *ieuenctyd*, a welais ac a ddarllenais erioed ydyw. Mae yn *ddarluniadol* hefyd. Dylai gael mwy o gefnogaeth gan bob enwad crefyddol.

"Y NEGESYDD."—Cyhoeddiad Misol bychan, ar ddull papyr newydd. Ei berchenog a'i olygydd yw R. T. Daniels, Ormsby P. O., Pittsburgh, Pa. Cyhoeddir ef yn ei swyddfa yn Brownstown, ger Pittsburgh. Ni welais ond Rhifyn 2, Cyf. I, (Mehefin 1871) o hono. Y mae y rhifyn hwnw yn un destlus a gwerthfawr; a chynnwysa lawer o hanesion, ac amrai o ysgrifau rhagorol, gan y golygydd, Gwilym Cyrwen, ac ereill.

"YR YMWELYDD."—Cyhoeddiad Misol bychan, a rhad, ar ddull papyr newydd yw hwn hefyd. Ei berchenog a'i olygydd yw Henry M. Edwards, Ysw., Box 444, P. O., Hyde Park, Luzerne Co., Pa. Ni welais ond Rhifyn 5, Cyf. I, Ionawr, 1871. Cynnwysai hwnw amrai o erthyglau byrion o waith y golygydd parchus, a'r Parch. Fred. Evans (*Ednyfed*), E. L., "Dewi Cwm Twrch," ac ereill; a llawer o hysbysiadau.

## CERDDORION CYMREIG.

Nid yw Rhestr H. J. Hughes, Ysw., yn cofnodi y cerddorion a'r cerddoresau canlynol:—

Joseph Parry, Danville, Montour Co., Pa., Mus. Bac., Pencerdd America.
Parch. T. G. Jones (Tavalaw), Arvonia, Kansas. Pencerdd.
Lewis Lewis (Llew Llwyfo). Cerddor a bardd enwog.
Wm. Ap Madoc, Utica, Oneida Co., N. Y.
Parch. J. Morgan Thomas, Ironton, Lawrence Co., Ohio.
John Owen (Glanmarchlyn). Hydeville, Rutland Co., Vermont
Prof. Thomas W. Davies, West Bangor. York Co., Pa.
Prof. Thomas Griffiths, St. Clairs, Schuylkill Co., Pa.
Prof. Davies, Tamaqua, "
Robert James, Ysw., Hyde Park. Luzerne Co., Pa.
David Price, Ashland, Schuylkill Co., Pa.
Thomas L. Davies, New York Mills, Oneida Co., N. Y.
Humphrey Williams, " "
Wm. H. Williams, Rome, N. Y.
Wm. Jones, Floyd, N. Y.
Robert Jones, Bethel, Remsen, N. Y.
William Ellis, Waterville. N. Y.
Parch. Mr. Rees (T. C.), Ironton, Lawrence Co., Ohio.
John Lewis, William Dodd, " "
John Parry, Richard C. Pritchard, Fairhaven, Vermont.

David T. Williams, Poultney, Vermont.
Wm. Harris, Geo. Roberts, John W. Williams, Mahanoy City, Pa.
Morgan Evans, Thomas James, Summit Hill, Pa.
Thomas Hughes, John Phillips, Shenandoah, Pa.
Meshach Watkins, Mr. Phillips, Mount Carmel, Pa.
Mr. Anthony, Wilkesbarre, Luzerne Co., Pa.
W. Evans, M. Morgan, W. Williams, T. Parsonage, Kingston, Pa.
Profs. Roger B. Howell, a J. D. Thomas, Bradford Co., Pa.
Prof. Gomer Thomas, [Organydd], Danville, Pa.
Wm. J. Richards, J. Richards, W. Lewis, Knoxville, Tennessee.
Prof. Elias B. Williams, Cambria, Columbus Co., Wis.
Roger Jones, Williamsburgh, Iowa.
Prof. James Price, Nashville, Tennessee.
William Price, John Price, Ashland, Schuylkill Co., Pa.
Prof. David Howell Thomas, Hyde Park, Luzerne Co., Pa.
Robert Jones, Hyde Park, Pa.
Evan Thomas, Shamokin, Pa.
Thomas Davies, Henry Davies, Hyde Park, Luzerne Co., Pa.
David Jonathan, Wilkesbarre, "
Morgan Jones, Howell Jones, Wilkesbarre, "
D. Davies, Plymouth, Luzerne Co., Pa.
George Bruntnel, New Cambria, Missouri.
Parch. John T. Evans, Bevier, "
David J. Jones, Callao, Macon Co., "
David W. Roberts, John J. Jones, Bevier, Missouri.
Richard J. Thomas, Mankato, Minnesota.
William W. Davies, South Bend, "
R. E. Hughes, E. H. Evans, South Bend, Minnesota.
Evan Pritchard, Humphrey Jones, Judson P. O., Minnesota.
William Williams, William Hughes, Bethel, Judson P. O., Minn.
Mr. T. Davies, a'i briod, a'i blant, [Cor yr Aelwyd,] Mineral Ridge, Ohio.
Mrs. Griff. R. Jones, [Eos Granville,] Poultney, Vermont.
Mrs. Lewis, [chwaer Pencerdd America,] Knoxville, Tennessee.
Mrs. J. Vaughan, Bangor, La Crosse Co., Wis., [gynt Miss Thomas, Bethel, Remsen, N. Y.
Prof. J. W. Parson Price, Louisville, Kentucky.

### CYFREITHWYR CYMREIG.

David Jones, Pottsville, Schuylkill Co., Pa.
David M. Jones, Wilkesbarre, Luzerne Co., Pa.
Henry M. Edwards, Hyde Park, "
William T. Davies, Glenwood, Miles Co., Iowa.
Samuel W. Rees, Dodgeville, Iowa Co., Wisconsin.
H. A. Powell, 520 Montgomery St., San Francisco, California
Horatio Gates Jones, 133 South 5th St., Philadelphia, Pa.

### MEDDYGON CYMREIG.

Dr. William Roberts, Bradford Co., Pa.
Dr. Idris Davies, Mahanoy City, Pa.
Dr. William Owen, Ashland, Pa.
Dr. E. B. Evans Hyde Park, Pa.
Dr. J. M. Williams, Hyde Park, Pa.
Dr. R. Davies, Wilkesbarre, Pa.
Dr. Edwin Jones, Englewood, N. J.
Dr. Williams, Fairhaven, Vermont.
Dr. John A. Jenkins Middle Granville, N. Y.
Dr. Ioan Pritchard, " "

Dr. Edwin Evans, West Winfield, Otsego Co., N. Y.
Dr. Richard Jones, Gomer P. O., Allen Co., Ohio.
Dr. Davies, " "
Dr. Roberts, Newburgh, Ohio.
Dr. J. H. Jones, Pomeroy, Ohio.
Dr. Griffiths, Portland, Ohio.
Dr. John Davies, Spring Green, Wisconsin.
Dr. John Williams, Cambria, "
Dr. Morris, Emporia, Kansas.
Dr. D. C. Davies, Columbus, Wisconsin.

## GWLEIDYDDION (STATESMEN) CYMREIG.

Yr oedd, ac y mae eto, ryw fath o deimlad rhagfarnllyd cryf, mewn llawer o Gymry crefyddol yn America, yn erbyn i neb o'u pregethwyr, ac o aelodau eu heglwysi, i ymyraeth dim mewn un modd â gwleidyddiaeth; a bu hyny yn un o'r rhwystrau penaf iddynt i gael eu dyrchafu i swyddi gwladol o ymddiried ac o anrhydedd yn y wlad hon. Boddlonent i bleidleisio dros etholiad cenedloedd ereill i swyddi felly, a chymerent eu rheoli a'u llywodraethu ganddynt, heb ofalu dim am edrych a oeddynt yn gweinyddu eu swyddi yn onest a chyfiawn. Ond y mae y rhagfarn hwn yn cael ei symud ymaith yn raddol, fel y mae y Cymry yn cael amser a manteision i ddeall deddfau y llywodraeth, a'u hiawnderau fel dinasyddion; ac fel y mae eu plant yn tyfu i fyny ac yn cael eu haddysgu yn ysgolion rhagorol y wlad hon, ac yn cymhwyso eu hunain i lenwi swyddi o ymddiried; ac fel y mae goleuni y Wasg Gymreig yn ymdaenu, felly y maent yn fwy awyddus am swyddi gwladol, ac yn llawer mwy cymhwys i gyflawni eu gorchwylion pwysig. *Un blaid* wleidyddol, oleuedig, ryddgarol, gyfiawn, a gonest, a *ddylai* fod yn mhob llywodraeth wladol; a daw yr amser dedwydd, pan ddaw yr "Yr Hen Ddihenydd i roddi barn i saint y Goruchaf, ac y meddianant y frenhiniaeth." (Dan. vii. 22.) Dyna yr amser y teyrnasa cyfiawnder, a barn, a heddwch, ar y ddaiar, ac y gweinyddir deddfau gwladol, sylfaenedig ar wleidyddol ddeddfau dwyfol ac anffaeledig yr Ysgrythyrau Santaidd, yn gyfiawn a thêg; ac ni chlywir mwy am anghyfiawnder, a thwyll (*frauds*), ac afarniaeth (*bribery*), na therfysgoedd, na

rhyfeloedd, o fewn un wlad, ar holl wyneb y ddaiar. Ond, braidd o ddechreuad yr Undeb hyd yn awr, bu *gwahanol* bleidiau gwleidyddol yn llywyddu yn y wlad hon; a mawr fu eu hymdrechion i *orchfygu* eu gilydd, ac i gyrhaedd swyddi gwladol, a dal awenau y llywodraeth. Nid oes yn awr ond *dwy* blaid wleidyddol yn meddu dylanwad mawr yma, sef y *Democratiaid* a'r *Gwerinwyr;* ac y maent, er ys blyneddau, wedi ffurfio eu gwir gymeriadau, trwy eu hysgrifau a'u gweithredoedd. Mae y dinaswyr Cymreig, bron yn ddieithriad, wedi pleidleisio dros egwyddorion rhyddgarol Plaid y Gwerinwyr (*Republican Party*), am fod eu saflawr (*platform*) hwy yn sylfaenedig ar wirionedd a chyfiawnder; a bod eu gweithredoedd gwleidyddol hwy, bron yn ddieithriad, wedi bod yn anrhydedd i'n Llywodraeth, ac yn llesol i'r *bobl yn gyffredinol.*

Yr wyf yma yn sôn am y Cymry sydd yn byw yn y sefydliadau Cymreig, ac yn gallu siarad yr iaith Gymraeg, ac nid am y *Welsh Descendants,* nad ydynt yn gallu darllen na pharablu ein hiaith, nac yn gofalu dim am ein hachosion Cymreig. Mae llawer o'r Cymry yn ein sefydliadau Cymreig yn bobl gyfoethog a dysgedig, ac amrai o honynt, er ys blyneddau, yn llenwi swyddi gwleidyddol o ymddiried ac anrhydedd yn ein dinasoedd, ein siroedd, ein talaethau, a'r Llywodraeth Gyffredinol. Dyma enwau ychydig o honynt. Nid wyf yn alluog i wneyd y rhestr yn gyflawn, am na chefais hysbysrwydd prydlon. Cyflenwir hi yn y Gyfrol nesaf.

Yr Anrhydeddus Ex-Governor Wm. Bebb, Ohio.
Yr Anrhydeddus Llewelyn Breese, Wisconsin.
Yr Anrhydeddus Ellis H. Roberts, Utica, N. Y.
Yr Anrhydeddus Thomas L. Hughes, Ohio.
Yr Anrhydeddus Miles S. Humphreys, Pittsburgh, Pa.
Yr Anrhydeddus David C. Evans, South Bend, Minnesota.
Yr Anrhydeddus John L. Davies, Davenport, Iowa.
Yr Anrhydeddus Llewelyn J. Evans, gynt o Wisconsin.
Yr Anrhydeddus Sirydd Bowen, Mankato, Minnesota.
Yr Ysgrifenydd John T. Williams, Ysw. "
John Parry, Ysw., Rome, Oneida Co., N. Y.
Evan E. Roberts, Ysw., Utica, N. Y.
Griffith O. Griffiths, Ysw., Remsen, N. Y.
William Lewis, Ysw., Penymynydd, Steuben, N. Y.

Yr Ynad Thomas, Pittsburgh., Pa.
Y Barnydd William D. Roberts, New Cambria, Mo.
Yr Ynad John Rees, Arvonia, Kansas.
John T. Jones, Ysw. (Ysgrifenydd), Madison, Wis.
David Davies, Ysw. (Custom House), Philadelphia, Pa.
Wm. Roberts, Ysw. (Librarian), Washington, D. C.
Saml. S. Davies, Ysw. (Ysg. Pension Office, Washington, D. C.

## CYFOETHOGION CYMREIG.

Mae y tyddynwyr Cymreig a sefydlasant yn y wlad hon, er ys o ddeg i ugain mlynedd, a chyn hyny, a'u plant, braidd yn ddieithriad, mewn amgylchiadau cysurus; ac y mae llawer o honynt yn oludog, ac yn byw yn ddedwydd ar eu tyddynau ffrwythlon eu hunain. Ofer fyddai i mi geisio cyhoeddi eu henwau hwy, am eu bod yn rhy luosog. Nid yw Cymry America eto wedi talu digon o sylw i fasnach a'r celfyddydau; gadawsant i genhedloedd ereill flaenori ac elwa arnynt yn y pethau hyny, yn y rhan fwyaf o'u sefydliadau Cymreig, yn lle ymroddi i fod yn fwy anturiaethus eu hunain, a dwyn eu plant i fyny, a'u cymhwyso, i arferu y celfyddydau, a dwyn yn mlaen fasnach, er eu lles eu hunain. Ond y mae pethau wedi newid er gwell er ys llawer o flyneddau; ac y mae genym yn awr yn y wlad hon lawer o Gymry anturiaethus a llwyddianus mewn masnach, ac yn y celfyddydau buddiol; ac amrai o honynt, trwy eu diwydrwydd, eu llafur, a'u gonestrwydd, dan fendith y nef, wedi cyrhaedd *cyfoeth mawr*. Gwir nad oes genym neb Cymry yma yn werth *miliynau* o ddoleri mewn aur, ac arian, ac etifeddiaethau, fel tirfeddianwyr cyfoethog Cymry a Lloegr; er hyny y maent yn feddianol ar werth *miloedd o ddoleri;* y mae rhai o honynt yn werth o ddeg mil i haner can' mil o ddoleri; a rhai yn werth dros gan' mil o ddoleri ($100,000).

Rhoddaf yma restr o enwau ychydig o honynt. Yr wyf yn adnabod llawer o honynt yn bersonol; a chefais hysbysrwydd sicr am y lleill. Caraswn allu gwneyd y rhestr yn gyflawnach. Diau fod yn y dinasoedd mawrion, megys New York, Boston, Philadelphia, Baltimore, Washington, Albany, Utica, Cleveland, Columbus, Newark, Cincinnati, Chicago, Racine, Milwaukee,

St. Louis, &c., luoedd o Gymry parchus a chyfoethog nad wyf fi yn gwybod eu henwau.

Dinas New York, &c.: Owen Jones, William Miles, Daniel L. Jones, John T. Davies, Lewis Thomas, Thomas Thomas, Evan Thomas, Thomas Davies, J. J. Jones, Cadwaladr Richards, Hugh Roberts, Evan Jones, Peter Roberts, Bennett Williams, a lluoedd ereill.

Philadelphia, Pa.: Mae yn y ddinas hon ganoedd o *Welsh Descendants* yn foneddigion ac yn fasnachwyr cyfoethog iawn; ac y mae yno lawer o Gymry cyfoethog yn gallu siarad Cymraeg; megys James H. Davies, Ysw., Lumber Merchant, rhif 1622 Vine Street, a David Jones, rhif 539 Wharton street, a llawer ereill.

Catasauqua, Lehigh Co., Pa.: David Thomas, Ysw., a'i feibion, [Iron Works,] Morgan Emanuel, Ysw., William G. Lewis, ac ereill.

Irondale, Jefferson Co., Ohio: David Morgans, Ysw., [Coal & Iron Works.]

Alliance, Stark Co, Ohio: Thos. Eynon, Dl. Davies, John L. Thomas, &c.

Cincinnati, Ohio: James a John Griffiths, Griffith Griffiths, ac ereill.

Lima, Allen Co., Ohio: William V. Williams, Ysw.

Robertsville, ger Salineville, Columbiana Co., Ohio: Essay Roberts, Ysw. [Coal, &c.]

Olyphant, Luzerne Co., Pa.: Edward Jones, Ysw., [Coal Operator.]

Pittston, Luzerne Co., Pa.: H. R. Hughes a'i frawd, B. Bowen, Ysw., [Masnachwyr.]

Pittsburgh, &c., Pa.: Cadb. James Rees. D. Mathias, Ysw., Wood's Run Rolling Mill, Alleghany, ger Pittsburgh.

Mae y rhai canlynol yn feddianol ar chwarelau llechi rhagorol:

Slatington, Lehigh Co., Pa.: H. Williams, D. Williams, H. Davies, &c.

Fairhaven, Vt.: Benj. Williams, R. Hughes, J. Roberts, E. D. Jones, J. Williams.

Blissville, Vt.: Wm. E. Williams, David W. Roberts, Griffith R. Jones, Hugh G. Hughes, Thos. P. Thomas, Richard W. Rowlands. &c.

Poultney, &c., Vt.: William R. Williams, John R. Williams, Evan J. Williams, &c.

Middle Granville, &c., N. Y.: Eleazer Jones, Wm. E. Jones, Benjamin Williams, &c.

Jamesville, &c.: Gwel enwau meddianwyr y chwarelau yn hanes y lle. Mae amryw ereill o Gymry cyfoethog yn feddianol ar chwarelau llechi mewn manau ereill yn Vermont, ac yn nhalaethau Massachusetts, a Maine, a Virginia, ac yn West Banger, York Co., Pa.

Hyde Park, Luzerne Co., Pa.: John Levi, J. Williams, &c. (Masnachwyr)
Providence, Pa.: Griffith J. Roberts, ac ereill, "
Mahanoy City, Pa.: Wm. F. Jones, ac ereill, "
Newark, New Jersey: David Owen, Ysw. (Druggist).
Englewood. N. J.: John Edwin Jones, Ysw. (Builder).
Washington, D. C.: Col. S. Owen, Hugh Pugh, Ysw. (Masnachwyr).
Racine, Wis.: Vaughan & Williams, ac ereill, "
Milwaukee, Wis.: Richard Owen, Ysw., Powell & Pritchard, &c.
Oshkosh, Wis.; Richard T. Morgan, Ysw., &c. (Lumber Merchants).
Cambria, Wis.: John ab Jones, ac ereill. (Masnachwyr).
Patriot P. O., Gallia Co., Ohio: John I. Jones. (Masnachwr).
Old Man's Creek, Iowa: Edward a Hugh Tudor, David H. Jones, &c.
Oskaloosa, Mahaska Co., Iowa: John G. Jones. (Masnachwr).
Mankato, Minnesota: Richard Thomas, Isaac Cheshire, G. Williams.
South Bend, Minnesota: W. W. Davies, Wm. R. Price, ac ereill.
New Cambria, Mo.: Owen Jones, Thos. H. Hughes, John H. Hughes, &c.
Bevier, Macon Co., Mo.: Daniel Rowlands, John Richards, John J. Jones, David Humphreys, Robert Edwards, John Hughes, a'i feibion, &c.
St. Louis, Mo.: Obadiah Owen, Robert Jones, J. M. Davies, &c.
Arvonia, Kansas: J. Mather Jones, Ysw., Owen Jones, Ysw.
Leavenworth, Kansas: D. J. Williams, Ysw.
Newburgh, Ohio: M. M. Jones, Ysw. (Masnachwr).

Bevier, Macon Co., Mo.: Hopkin Evans, Ysw. (Coal Operator).
Ironton, Ohio: James T. Davies, Ysw., Thos. John, Ysw. (Masnachwyr).
Portland, Ohio: John J. Jones, Ysw., W. W. Morgan, Ysw. "
Portsmouth, Ohio: Lewis Morgan, Ysw. "
Portland, Ohio: John D. Davies, Thos. L. Hughes, Wm. M. Jones, Thos. T. Jones, perchenogion y "Jefferson Furnace."
Minersville, Meigs Co., Ohio: Ebenezer Williams, Ysw. (Coal Operator).
Mineral Ridge, Ohio: John Morris, John Williams, David Harris, John Jones, David John, &c.: (Coal Operators & Contractors).
Hubbard, Ohio: Rees Charles, Ysw. (Coal Operator).
Wood's Run, ger Pittsburgh, Pa.: Mr. Thomas. (Rolling Mill).
Audenried, Pa.: Jonah Rees a'i fab; Mr. Johns, ac ereill, (Coal Operators).
Oskaloosa, Mahaska Co., Iowa: William Price, Watkin Price, John Price, Jenkin Price. (Coal Operators).
Knoxville, Tennessee: D. Richards, W. J. Richards, &c. (Rolling Mill).
Chattanooga, Tennessee.: Joseph Richards, &c. (Rolling Mill).
Dover, New Jersey: Richard J. Jenkins, D. Jenkins, &c. (Iron Ore).
Newburgh, Ohio: John Jones, Ysw. (Rolling Mills).

Mae llawer o *Gymry* parchus wedi cyrhaedd cyfoeth ac anrhydedd fel arolygwyr a *bosses* y gweithfeydd glo, a haiarn, a halen, yn Pennsylvania, ac Ohio, &c., yn enwedig yn siroedd Schuylkill, a Carbon, a Luzerne, Pa., ac mae gan rai o honynt ranau yn y gweithfeydd. Nid wyf wedi cael enwau ond ychydig o honynt:—

Thomas Phillips (Arolygydd), Summit Hill, Carbon Co. Pa. (Glo).
James Beynon, Bedford, Cuyahoga Co., Ohio. (Haiarn).
John Mathews, Coalburgh, Trumbull Co., Ohio. (Glo).
William Harris, Portsmouth, Scioto Co., Ohio. (Haiarn).
Thos. Manwaring, Syracuse, Meigs Co., Ohio. (Halen).
John Thomas, Portland, Maine. (Haiarn).
Edwin A. Rosser, Knightville, Clay Co., Indiana. (Haiarn a glo).
David S. Davies, Wm. Davies, Oskaloosa, Iowa. (Glo).
Benj. Hughes, Lewis, Price, Phillips, Jones, &c., Hyde Park, &c. (Glo).
Pittston, Pa.: Lewis, Davies, Hughes, Jones. (Glo, &c).
Mill Creek, Pa.: Benjamin B. Jones, Ysw., ac ereill. (Glo).
Wilkesbarre, Pa.: John Griffiths, Lewis Jones, &c, "
Upper Lehigh, Pa.: William Powell, Ysw., James N. Jones, &c. (Glo).
Audenried, Pa.: Johns, Williams, Davies, &c. "
Dutchtown, Pa.: Owen Evans. &c. "
Mahanoy City, Pa.: John W. Williams, Rees P. Jones, W. Watkins, Thomas Lewis, John Powell, Lewis Evans, &c. (Glo).
Shenandoah, Pa.: Mr. Davies (Coal Operator); J. Morgan, &c. (Glo).
Mount Carmel, Pa.: Thomas Williams, Ysw., &c. (Coal Operator).
Pottsville, Pa.: John Lucas, Ysw. (Coal Operator).
Inspectors of Mines: David Edmunds, Shamokin, Pa.; Mr. Williams, Wilkesbarre, Pa.; John Evans, Hazleton, Pa.; David Llewelyn, John Phillips, Wm. Morgan, Shamokin, Northumberland Co., Pa.

## PENNOD V.

### CYFARWYDDIADAU I YMFUDWYR.

Mewn llyfr fel hwn, "HANES CYMRY AMERICA," &c., yr hwn sydd yn dwyn perthynas mor bwysig â llesiant ein cenedl yn gyffredinol yn Nghymru ac yn America, yn y presenol ac yn y dyfodol, diau y disgwylir i mi roddi y cyfarwyddiadau goreu a allaf i ymfudwyr; a barnwyf na buasai y llyfr yn gyflawn heb hyny, am y credwyf fod parhad, cynydd, a llwyddiant y sefydliadau Cymreig yn America yn ymddibynu i raddau ehelaeth ar ymfudwyr newyddion o'r Hen Wlad yma, ac o'r hen sefydliadau dwyreiniol i'r ardaloedd a'r gwledydd ffrwythlon yn y gorllewin a'r de, ac mai hwynt-hwy a'u plant fydd ein cyfnerthwyr penaf yn y dyfodol. Er fod miloedd o Gymry wedi ymfudo yma, yn yspaid y ddau gan' mlynedd diweddaf, a bod ein cenedl yn awr yn boblogaeth gref, anrhydeddus, a dylanwadol yn yr Unol Dalaethau; er hyny, barnwyf nad yw ymfudiad Cymreig ond bychan mewn rhif a dylanwad yn awr, mewn cymhariaeth i'r peth a fydd yn y can' mlynedd nesaf. Os na wna Llywodraeth Prydain, a'i thirfeddianwyr cyfoethog, ryw drefniadau gwell, yn fuan, er talu mwy o gyflogau i weithwyr gonest Cymru am eu llafur caled, ac i'w parchu a'u hanrhydeddu, trwy ganiatau iddynt fwy o iawnderau a rhyddid gwladol a chrefyddol, *gwagheir* deuddeg sir y Dywysogaeth, o'r tyddynwyr, a'r llafurwyr, a'r crefftwyr mwyaf gweithgar a gonest o'u mewn, ac ymfudant wrth y miloedd i'r Unol Dalaethau, a manau ereill, er cael cartrefi mwy dymunol, ac ychwanegu rhif, cyfoeth, a dylanwad *Cymry America*. Croesawir hwynt

gan y miloedd yr ochr yma i'r Werydd, a gwnant eu goreu i'w cynorthwyo i sefydlu yn y lleoedd goreu. Ein cyd-genedl anwyl yn Ngwalia lan! Carem eich gweled chwi *oll* yma. Mae yma ddigon o le i chwi oll i gael cartrefi rhad a chysurus. Darllenwch a myfyriwch fwy ar y pwnc o ymfudiaeth. Nac oedwch. Penderfynwch adael gwlad y gorthrwm a'r prinder, ac ymfudo i wlad y rhyddid a'r llawnder. Yn lle treulio eich amser yn ofer, a gwirioni eich penau wrth geisio *rhigymu* barddoniaeth, ac ysgrifenu erthyglau difudd i'r wasg, meddyliwch fwy am y ffordd oreu i wellhau eich amgylchiadau bydol, a thrwy hyny i gael mwy o fantais i fyw yn dduwiol, i wneyd lles i'ch gilydd, ac i ogoneddu yr Arglwydd. Da fyddai i lawer o Gymry pe cymerent y cynghor a roddodd y bardd enwog, Robert ab Gwilym Ddu, o Eifionydd, i fardd ieuanc gynt o Feirionydd:—

"Yn wastad nac astudia—am ganu;
Amgenach myfyria;
Os myn dyn derfyn da,
Myfyried am ei fara."

Ychydig o gyfarwyddiadau a chyfleusderau a gafodd yr *hen ymfudwyr* Cymreig i groesi y Werydd, ac i sefydlu ar eu tiroedd yn y wlad hon; ond gorfu iddynt hwy a'u teuluoedd hwylio drosto mewn llongau bychain, gwaelion, a byw yn ymyl marw arno, weithiau mewn ystormydd blinion, am dri mis, cyn cyrhaedd Philadelphia, a New York! Ac nid oedd na chamlasau, na reilffyrdd, y pryd hyny, i'w cludo i ben eu teithiau; ond rhaid oedd iddynt gerdded, a theithio yn anniben, ar feirch, neu mewn cerbydau, yn cael eu tynu gan ychain, ar ffyrdd anhygyrch; a mawr fu eu peryglon a'u profedigaethau wrth geisio byw mewn cyffdai (*log-houses*) bychain, gwaelion, yn nghanol y coedwigoedd, yn cael eu ham-

gylchu gan fleiddiaid, eirth, ac Indiaid gwylltion, yn mhell o bob tref, a chapel, ac ysgoldy, ac efail, a melin. Llafur oes iddynt hwy oedd tori a llosgi y coedydd, er arloesi a diwyllio eu tiroedd. Yr oeddynt yn mhell oddiwrth y llythyrdai; a byddent flyneddau heb glywed oddiwrth eu perthynasau a'u cyfeillion o Gymru. Yr oedd eu treuliau teithiol yn fawrion iawn; nid oedd cynyrch eu llafur ond ychydig iawn, a'r pris a gaent am eu nwyddau ond y peth nesaf i ddim. Bu raid iddynt fyw am flyneddau ar ymborth gwael, a dillad cyffredin iawn. Diffyg reilffyrdd, a masnach fywiog, a barodd hyny. Bu yr hen bobl feirw cyn gweled llawer o lwyddiant; ond y mae eu plant yn awr yn gyfoethogion yn eu palasdai, ar hen dyddynau eu rhieni. Gallwn ysgrifenu cyfrol fawr o hanes hynodion, peryglon, a phrofedigaethau yr hen ymfudwyr Cymreig; a byddai darllen hyny, er yn ddyddorol, yn ddigon i arswydo pobl weiniaid wrth feddwl am ymfudo yma. Ond cofiwch, nad oes ond ychydig o'r anfanteision a'r profedigaethau hyny i'w cael yma yn awr, oddieithr i chwi ymfudo i'r *tiriogaethau* gorllewinol, yn mhell oddiwrth y reilffyrdd, a'r dinasoedd, a'r boblogaeth wareiddiedig. Mae y cyfleusderau sydd gan y Cymry yn awr i groesi y môr, ac i deithio y tir, yn dra lluosog; ac nid yw y draul ond ychydig mewn cymhariaeth i'r hyn oedd gynt.

Yn y flwyddyn 1854, cyhoeddais lyfr o'r enw "*Yr Ymfudwr*," yn cynnwys hanes America ac Australia; yn nghyda phob hyfforddiadau rheidiol i ymfudwyr. Pris swllt. A dosparthwyd yn agos i dair mil o hono, mewn chwe' mis, yn ngogledd a deheudir Cymru. Cafodd uchel gymeradwyaeth y Wasg Gymreig; a bu yn gyfarwyddur parod a chywir i filoedd o'n cydgenedl. Meddyliais am gyhoeddi *ail* argraffiad o hono; ond lluddiwyd fi gan ddiffyg amser. Er mwyn y rhai na

welsant y llyfr hwnw, rhoddaf yma grynodeb o'i gynnwysiad. Pen. I. Sylwadau Arweiniol. Dyledswydd dynion i beidio gorwedd yn dawel mewn tlodi, dan orthrwm a thrais, os gallant wellhau eu hamgylchiadau. Beth yw ymfudiad? Llawer wedi ymfudo. Ymfudiaeth yn un o brif bynciau yr oes hon. Angen am fwy o gyfarwyddiadau, &c. Pen. II. Daiaryddiaeth a hanesiaeth gyffredinol. Creadigaeth, dullweddiad, a hynodion, y ddaiar. Eglurhad ar ymadroddion daiaryddol, dyfroedd, tiroedd, llywodraeth wladol, y pelleni celfyddydol (*the globes*), tudleni (*maps*), a chyfarwyddiadau i'w deall. Pen. III. Ymfudiad yr hen oesau. Gair Duw dros ymfudiad. Ymfudiad Sem, Cam, a Japheth, hil Gomer, &c. Ymfudiad y cenhedloedd anwareiddiedig. Ymfudiad pobl grefyddol i fysg paganiaid; y sefydliadau cenhadol. Ymfudiad tyddynwyr a gweithwyr i wledydd a sefydliadau Cristionogol. Pen. IV. Cyfyngderau gweithwyr Cymru. Cymru a'i phoblogaeth. Llywodraeth Lloegr. Amgylchiadau y trigolion. Ein cenedl, ein hiaith, a'n crefydd. Pen. V. Hanes America. Y cyfandir mawr. Columbus yn ei ddarganfod yn 1492. Madawg ap Owain Gwynedd yn 1170. Yr Indiaid, a'u moesau, eu harferion, a'u credoau. Darganfyddiad diweddarach y sefydliadau Prydeinig. Y Tadau Pererinol. Y cenhadwr Elliot. Roger Williams. William Penn. Y Chwildroad. Pen. VI. Yr Unol Dalaethau. Taflen o'u poblogaeth yn 1840. Llywodraeth y wlad. Crynodeb o'r Ffurf-lywodraeth (*Constitution*). Agweddiad naturiol y wlad; mynyddau, dyffrynoedd, rhosdiroedd, coedwigoedd, afonydd, llynoedd; y tiroedd a'u cynyrch, cenedloedd ac ieithoedd, anifeiliaid ac ehediaid, ceryg a mwngloddiau; gwahanol hinsoddau; amaethyddiaeth, llawweithfeydd, masnach, ariandai, papyrau, aur, arian, a chyfarwyddiadau i wybod eu gwerth, &c. Y ffordd oreu i gadw cyfrifon. Cyfleusderau teithiol; ffyrdd, afonydd, llynoedd, camlasau, reilffyrdd. Llythyrdai. Y sefydliadau Cymreig. Gweithfeydd, cyflogau, prisiau. Addysg a chrefydd. Tiroedd rhad y Llywodraeth, &c. Rhesymau dros ymdrechu cael *talaeth Gymreig* yn America. Ffaeleddau yr Unol Dalaethau.

Pen. VII. Y Trefedigaethau Prydeinig. Canada. Australia. New Zealand, &c. Prisiau, cyflogau. Pen. VIII. Cyfarwyddiadau i ymfudwyr. O'r rhai hyny yr wyf yn ail gyhoeddi y crynodeb canlynol:—

"Wedi i'r rhai a fwriadant ymfudo ddarllen y pennodau blaenorol, hyderwn y byddant yn fwy galluog nag o'r blaen i ffurfio barn gywirach ar ymfudiaeth, ac i wneyd parotoadau gwell tuag at ymfudiad, er eu cysur a'u llwyddiant eu hunain. Rhaid i bob ymfudwr fyfyrio y pwnc yn fanwl a thrwyadl, fel y byddo yn alluog i weithredu drosto ei hun, heb ymddiried yn *hollol*, fel plentyn bychan anwybodus, ar gyfarwyddiadau ereill am bob peth, bob amser, ac yn mhob lle. Dylai wybod, *cyn cychwyn oddicartref*, beth a fwriada ei wneyd; pa fath wlad yw yr hon y bwriada ymfudo iddi; pa ffordd, ac yn mha ddull, y mae yn bwriadu teithio iddi; a pha fath yw seiliau ei obeithion am gael bywioliaeth gysurus ynddi. Wedi darllen yr "*Ymfudwr*" drosto yn fanwl, eistedded i lawr, ac ystyried y gofyniadau canlynol yn ddifrifol:—1. Pa beth yw eich galwedigaeth, neu eich celfyddid? 2. Pa nifer o deulu sydd genych? 3. Pa fath iechyd a fwynhewch chwi a'ch teulu? 4. A ydych chwi, a'ch priod, a'ch plant, yn meddu cymeriad da am weithgarwch, gonestrwydd, a sobrwydd? 5. A ydych chwi yn gallu enill eich bywioliaeth yn gysurus yn y wlad hon (Cymru), ai nid ydych? 6. A oes genych chwi ddigon o arian i dalu eich cludiad i ben eich taith, neu sicrwydd am gynnorthwy o ryw fan arall? 7. A ydych chwi yn ddigon iachus a gwrol i fyned trwy anfanteision a pheryglon yr ymfudiad? 8. A ofynasoch chwi am gyfarwyddiadau a bendith yr Arglwydd? 9. A allech chwi fod yn ddedwydd mewn gwlad estronol, bell, oddiwrth eich perthynasau a'ch cyfeillion? 10. A oes genych chwi awydd cryf am ymfudo? 11. A ydych chwi, wrth geisio gwellhau eich amgylchiadau yn y *byd marwol hwn*, yn ymdrechu hefyd sicrhau iechydwriaeth eich eneidiau, trwy ffydd yn Nghrist, a bywyd santaidd a defnyddiol, ac yn parotoi yn oestadol at fod yn ddedwydd byth yn y *tragywyddoldeb* mawr?"

"*Cychwyn oddicartref.*—Adeg bwysig a difrifol yw. Yn eich amynedd meddienwch eich eneidiau. Nac ymddangoswch yn galed a dideimlad, ac na wylwch yn anghymedrol. Ymadewch fel pobl synwyrol, dan obeithio eich bod yn dilyn llwybr eich dyledswydd, ac y cewch nodded ac arweiniad yr Arglwydd. Ymdrechwch adael eich gwlad wedi talu eich cyfiawn ddyledion i bawb, neu wedi rhoddi sicrwydd iddynt y telwch hwynt, os gellwch, mewn amser dyfodol; os gwnewch yn wahanol, bydd eich cymeriad anonest a thwyllodrus yn sicr o gael ei anfon ar eich holau yn fuan i America, a bydd hyny yn warth a chywilydd mwy yno i chwi, ac yn atalfa ar ffordd eich llwyddiant a'ch anrhydedd, oblegid ni bydd gan neb ymddiried ynoch. Gofalwch am gael cymeradwyaethau eich meistriaid, a'ch gweinidogion, a'ch eglwysi; telir mawr sylw i hyny yn y gwledydd pell, a bydd yn haws i chwithau gael lleoedd da a pharchus. Yn wir, ni ddylai neb ymfudo heb gael ysgrifen dan law rhywun cyfrifol yn ei wlad ei hunan, yn tystiolaethu ei fod yn sobr, gweithgar, a gonest. Goreu oll os bydd yn grefyddol."

*Liverpool.*—O'r ddinas ardderchog hon y mae y rhan fwyaf o ymfudwyr Cymreig yn cychwyn i America, am mai yno y ceir y llongau goreu, a'r cludiad rhataf. Ugain mlynedd yn ol, yr oedd y rhan fwyaf yn croesi y Werydd mewn llongau *hwyliog* mawrion; ac yr oedd yn ofynol gwneyd darpariadau gwahanol i fôr-deithio yn y rhai hyny, am o dair wythnos i chwech wythnos, a mwy na hyny weithiau, nag y sydd reidiol yn awr i'w gwneyd, am mai mewn *agerddlongau* y mae y rhan fwyaf yn croesi y môr o Liverpool i New York, mewn oddeutu deg neu ddeuddeg diwrnod. Nid yw hyny ond mordaith fer, ac yn gyffredin y maent yn cael tywydd teg a dymunol. Os byddwch yn alluog i dalu am eich cludiad yn y *first cabin,* neu y *second cabin,* yn yr agerddlong, ni bydd raid i chwi ofalu am ddarparu na bwyd na gwely felly, am y cewch bob peth a fyddo yn rheidiol arnoch i'ch gwneyd yn hollol gysurus. Ond os yn y *steerage* y byddwch am ddyfod, cewch ddigon o fwyd cryf yno, ond rhaid i chwi ofalu am wely, ac ychydig o lestri; gellwch eu cael oll yn

Liverpool am ychydig o arian. Y ffordd oreu fyddai i chwi ysgrifenu yn *brydlon,* o'ch cartrefleoedd yn Nghymru, i swyddfäau yr agerddlongau goreu, megys Guion & Co., 25 Water St., Liverpool, neu William Inman, Esq., 22 Water Street, Liverpool, neu rai o'r swyddfeydd cyfrifol ereill yno, a sicrhau eich *passage ticket,* a'ch lle yn y llong; neu anfon at ryw oruchwyliwr awdurdodedig a chyfrifol yn y ddinas hono i wneyd hyny drosoch. Cewch bob hysbysrwydd ganddynt am yr agerddlongau, a'r amser y byddant yn cychwyn oddiyno. Os bydd genych wraig a phlant, a llawer o gludgelfi (*luggage*), gwell fyddai i chwi ymdrechu bod yn Liverpool ddiwrnod neu ddau o leiaf cyn i'r llong gychwyn, fel y galloch gael digon o amser yno i drefnu eich gwahanol orchwylion rheidiol, ac i gymeryd eich lle, a gosod eich teulu yn y llong yn bwyllog a hyfryd, er gochelyd prudd-der dirboenus, ac weithiau golledion, prysurdeb, a gorofalon. Gofalwch am gael y llety *goreu,* dan ofal y Cymro mwyaf parchus a gonest yn Liverpool. Ni bum yno er ys llawer o flyneddau; ond gwelaf hysbysiad yn y "Drych," am Medi 28, 1871, am westy parchus, o'r enw "*The American Eagle,*" (Yr Eryr Americanaidd,) 34 Union Street, Liverpool, gan N. M. Jones, (y Cymro Gwyllt,) lle y telir pob sylw i gysur a dedwyddwch yr ymfudwyr, ac y ceir llety glan, ac ymborth blasus, am bris rhesymol, ac y mae yno amrai o dai da ereill. Dewiswch y lle goreu, lle y gellwch gael hyfforddiant sicr, nawdd, a diogelwch. Gofalwch am eich cymeriad, a'ch arian, a'ch papyrau; oblegid mae lluoedd wedi cael eu twyllo a'u hyspeilio yn Liverpool, yn gystal a New York. (Gwel yr hysbysiadau am yr agerddlongau ar ddiwedd y llyfr hwn.)

*Y Fordaith.*—Dylent eich *boxes* gael eu gwneyd yn gryfion gyda *hinges* a chloiau ac allweddau da; a mwy dyogel fyddent wedi eu rhaffu hefyd. Rhoddwch eich *enw* arnynt yn *eglur* ar gerdyn gwyn, wedi ei sicrhau â hoelion bychain. Gofalwch na byddont yn rhy fawrion a thrymion, fel na aller eu symud yn hawdd. "Dylid cymeryd cyfferi rhyddhaol (yr hyn a arferir gartref,)

i'w cymeryd can gynted ag yr eir i'r môr, ac yn achlysurol, yr hyn a arbedai lawer o salwch. *Magnesia* sydd hynod o dda i blant; ac os arferir triagl yn bur helaeth, ni bydd eisiau dim. Llaeth wedi ei ferwi gyda siwgr, neu laeth wedi ei odro i botel, a'i ferwi, a geidw ar hyd y daith. Gwinegr a phickles o bob math ydynt ragorol i wrthweithio effaith cig hallt, ac i leddfu selni y môr. Ychydig *figs, a soda water powders,* ydynt bur adfywiol. Dylid bod yn ofalus am gadw pob peth yn lân. Unrhyw ddillad a wasanaethant ar y môr, os byddant lân; canys pa beth bynag a wisgir ar y môr, ni bydd lawer o werth wedi hyny; bydd saim, *tar,* a heli y môr wedi difetha ei lewyrch. Hugan fawr dros y cwbl sydd hynod o wasanaethgar; ac y mae *cap* lawer rhagorach na *het* ar y fordaith." Dymunol fyddai fod genych hefyd (os yn y *steerage* y byddwch), ychydig o gaws da, a bara ceirch, a *ham* wedi ei berwi, ac onions, a lemons, ac afalau, &c., fel y galloch chwi a'r wraig a'r plant gael ychydig o fwyd a danteithion pan y mynoch, rhwng prydiau rheolaidd y llong. Na fydded i chwi bryderu gormod pe digwyddai i chwi gael ystorm ar y môr; ond gofalwch am deimlo ac ymddwyn yn sobr a gweddus. Darllenwch lawer ar yr Ysgrythyrau Santaidd, a dangoswch fawr barch i'r addoliad crefyddol a gynhelir ar y llong. Gwiliwch a gweddiwch, ac ymddiriedwch yn yr Arglwydd. Cenwch y penillion tlysion canlynol:—

"O blentyn y nefoedd, paham mae dy fron,
Mor ofnus wrth weled gwyllt ymchwydd y don?
Mae'r dyfnder du tywyll yn rhuo, gwir yw,
Ond dyogel yw 'th fywyd, mae'th Dad wrth y llyw," &c.

S. R.

---

Pan dodda y Wyddfa a'r Andes,
  Pan rua, pan ferwa y môr,
Gan dân a goleufellt, a mawr-wres
  Goddeithiad diweddaf yr Iôr;
Pan lefa 'r Archangel yn uchel,
  Nes crynu yr heuliau a'r ser,
Bydd angor y Cristion yn ddyogel,—
  Ymaflodd yn Aberth ein Ner.

Pan losga y ddaiar yn ufflon,
  Pan ddua 'r planedau uwch ben;

**Pan deimla 'r annuwiol arswydion**
**Dialedd y Barnwr o'r nen ;**
**Pan sudda 'r holl longau i'r eigion,**
**Bydd angor y Cristion yn gref ;**
**Ac yntau yn llawen ei galon,**
**Yn mhorthladd trag'wyddol y nef.** I. G.

*New York.*—Yn ninas New York y bydd y rhan fwyaf o ymfudwyr yn tirio; ac yno y ceir y cyfleusderau goreu a rhataf i fyned gyda y gwahanol reilffyrdd i bob talaeth ac ardal yn y dwyrain, y gogledd, y gorllewin, a'r de. (Gwel ein Nodiadau ar y gwahanol reilffyrdd, &c.) Flyneddau lawer yn ol, yn amser y llongau hwyliog, yr oedd peryglon yr ymfudwyr yn aml ac arswydol pan dirient yn New York; twyllwyd ac yspeiliwyd lluoedd o honynt gan y dynion a alwent yn *runners*, a *sharks*, y rhai a gymerent arnynt, ac a ddylasent, eu noddi a'u harwain i leoedd cysurus i gael bwyd, llety, ac ymgeledd. Ond wedi sefydlu swyddfeydd a swyddogion, awdurdodedig gan y Llywodraeth, yn y lle a elwir *Castle Garden*, yr hwn sydd adeilad mawr, crwn, yn ngwaelod y ddinas, yn ymyl y cilfor (*bay*), ac wedi i'r agerddlongau ddyfod i arferiad cyffredinol, dyogelir yr ymfudwyr rhag y peryglon hyny yn awr; oblegid ni oddefir i'r *runners* ddyfod i mewn i'r agerddlongau, nac i'r badau, nac i'r swyddfeydd hyny. Gall yr ymfudwyr gael pob ymgeledd yno; gallant hefyd gael newid eu harian yno, a chael *passage tickets* gan swyddogion cyfrifol yno, trwy dalu am danynt, i fyned gyda y reilffyrdd a ddewisont i ben eu teithiau, heb fyned allan o'r adeilad hwnw i'r ddinas. Ond os bydd arnynt eisiau *aros* yn ninas New York, cynghorwyf hwynt i roddi eu gofal yn hollol i'r hen swyddog ymfudol enwog, a'r Cymro cenedlgarol parchus a chyfrifol, *Cadwaladr Richards, Ysw.* (gynt o Ddolgellau, Meirionydd), yr hwn sydd yn awr yn byw yn ei dy newydd, No. 70 South Sixth Street, Williamsburgh, Brooklyn, Long Island (ger New York), ac sydd yn parhau yn oruchwyliwr awdurdodedig i werthu *passage tickets* dros gwmpeini yr agerddlongau a'r reilffyrdd i bob rhan o'r byd. Bydd Mr. Richards yn cyfarfod yr ymfudwyr yn y Castle Garden, neu gellir cael hyd iddo

yn swyddfa John G. Dale, Esq. (*Inman Line*), No. 15 Broadway; neu swyddfa Williams & Guion, No. 29 Broadway, New York; neu yn ei hen dy ei hun, sef y *Temperance Hall*, No. 403 Greenwich street, New York, yr hwn sydd yn awr yn cael ei gadw gan *Mr. John W. Jones* (brawd Dafydd Morganwg, Cymru), i'r hwn y rhoddir cymeradwyaeth gref gan amrai o weinidogion parchusaf y wlad hon. Gall ymfudwyr fod yn sicr y cânt yn ei dy ef "gartref cysurus, bwyd blasus ac iachus, a llety glân a chlyd, a'r oll am y prisoedd iselaf." Cyfarfydda Mr. Jones yr ymfudwyr yn Castle Garden, a rhodda bob cymhorth iddynt i gyrhaedd pen eu taith yn gysurus a dyogel. (*Gwel yr Hysbysiadau*). Mae amrai o Gymry ereill yn cadw tafarnau, a lletyau i ymfudwyr yn New York, lle gallant gael ymborth a diod, ac ymgeled. Ond ty Mr. Jones, sef y Temperance Hall, No. 403 Greenwich street, yw y lle mwyaf cysurus a dyogel, a'r mwyaf cyfleus i'r agerddlongau a'r reilffyrdd. Gwell yw i chwi brynu *passage tickets* gan Mr. Richards o New York i ben eich taith.

*Pen y Daith.*—Yn yr hen amser, yr oedd yr ymfudwyr Cymreig braidd oll yn *aros* am fisoedd a blyneddau yn ninasoedd New York a Philadelphia, ac wedi hyny yn symud yn mlaen i'r wlad. Y mae rhai yn dewis, ac ereill yn *gorfod* gwneyd hyny eto, am nad oes ganddynt ddigon o arian i dalu eu ffordd yn mhellach. Cafodd amrai brofedigaethau chwerwon o herwydd eu tylodi a'u hanwybodaeth o'r iaith Saesonaeg yn y dinasoedd mawrion hyn. Gwelwyd rhai Cymry parchus a chrefyddol mewn cyfyngderau mawrion ynddynt. Gwell fyddai i ddynion a merched ieuainc, sydd wedi arfer gwasanaethu mewn tai a *shopau*, aros ynddynt eto, am y gallant gael gwell cyflogau ynddynt; a gwell fyddai i *lafurwyr* ieuainc fyned i'r hen sefydliadau Cymreig, neu i'r gweithfeydd. Ond ni chynghorwn neb fydd yn alluog i dalu eu ffordd i ben eu taith, ac i brynu tir yn y gorllewin, neu yn y de, i aros dim mwy na fyddo reidiol yn New York, neu Philadelphia; ond prysuro yn mlaen yn union at eu perthynasau a'u cyfeillion, a sefydlu yn y lleoedd goreu mor fuan ag y gallont. Os

bydd genych berthynasau a chyfeillion cyfoethog a charedig, wedi sefydlu yn y wlad hon er ys blyneddau, bydd pen y daith yn gysurus a dedwydd i chwi; ond os na bydd genych, gall fod yn anghysurus iawn, os na bydd genych lawer iawn o arian—o ddwy fil i dair mil o ddoleri, neu o ddau gant i chwe' chant o bunau. Mae rhai dynion iachus, cryfion, a gwrolddewr, wedi gweithio eu ffordd yn mlaen, a llwyddo, ar lai na hyny o lawer—ar bump neu chwe' chant o ddoleri; ond gorfu iddynt weithio yn galed iawn, a dyoddef llawer o anghyfleusderau am flyneddau, yn enwedig os oedd ganddynt deuluoedd lluosog ac ieuainc. Bu rhai dynion ieuainc sobr a gweithgar, heb ond ychydig neu ddim arian, ar ol cyrhaedd pen eu taith, trwy weithio am gyflog i ereill, yn alluog i dalu am diroedd, ac i wneyd cartrefi dedwydd iddynt eu hunain cyn pen pump neu ddeng mlynedd.

"Wedi cyrhaedd pen y daith yn America, dilynwch y rheolau canlynol:—1. Ceisiwch le cysurus i'ch teulu heb oediad, os gellwch. 2. Ymdrechwch gael gwaith yn union. 3. Na feddyliwch am gael y cyflog uwchaf, ond byddwch barod i weithio am ychydig yn hytrach na bod heb ddim gwaith. 4. Na phrynwch dir heb gael sicrwydd ei fod yn dir da, iachus, a ffrwythlon, yn y lle mwyaf cyfleus; mynwch ei weled a'ch llygaid eich hunain, os nad ellwch ymddiried i ereill. 5. Na fyddwch gryf am eich ffordd eich hunan mewn dim, ond credwch fod yr Americaniaid (Cymry America), yn deall y tir a'r celfyddydau *yma* yn well na chwi, a chymerwch eich dysgu ganddynt. 6. Penderfynwch wneyd y defnydd goreu o'ch lle a'ch manteision, ac aroswch yno yn sefydlog. 7. Cofiwch am wneyd cais dioed am fod yn *ddinasydd;* bydd hyny yn dra manteisiol i chwi yn y wlad hon. 8. Glynwch wrth eich cenedl a'ch iaith. 9. Nac anghofiwch eich perthynasau yn Nghymru; ysgrifenwch atynt yn aml; a phan ellwch, cynorthwywch hwynt i ymfudo atoch. 10. Na chaed chwi byth yn euog o anwiredd, anonestrwydd, twyll, meddwdod, nac un pechod arall. 11. Byddwch yn ddeiliaid ufudd i'r Llywodraeth; yn gymydogion caredig a heddychol; yn grefyddwyr duwiol, haelionus,

tangnefeddus, a ffyddlon. 12. Ymroddwch i roddi addysg dda i'ch plant. 13. Na roddwch eich serch yn ormodol ar bethau y ddaiar; cofiwch fod golud, iechyd, a bywyd, yn ansicr a darfyddol; a thrwy ras Duw, gwnewch eich goreu i fod yn gadwedig, ac i gyrhaedd tragywyddol ddedwyddwch a gogoniant."

"HYFFORDDWR YR YMFUDWR,"—Gan yr Anrh. Owen Brownley, aelod Seneddol o dalaeth Iowa, a John W. Jones, Golygydd y *Drych*. Argraffwyd gan Thomas Gee, Dinbych, Gogledd Cymru, yn y fl. 1866. Pris deunaw ceiniog. Cynnwysa y llyfr hwn lawer o erthyglau gwerthfawr. Ei brif amcan yw profi fod llywodraeth Lloegr yn gorthrymu y dosparth gweithiol; dangos rhagoriaethau a manteision yr Unol Dalaethau; ac anog gweithwyr a thyddynwyr Cymru i ymfudo yma. Cynnwysa hefyd lawer o hanesion byrion am ychydig o'r sefydliadau Cymreig, ac ychydig o hyfforddiadau gwerthfawr i ymfudwyr.

## HYFFORDDIADAU YCHWANEGOL.

Nid wyf yn cynghori y nodweddiadau canlynol i ymfudo o Gymru i America, ond gyda'r eithriadau a nodaf:—1. Hen bobl, dros 60 mlwydd oed, nac unrhyw rai a fydd yn afiach, hen neu ieuainc, ac yn analluog i gadw eu hunain, os na bydd ganddynt rywrai galluog a ffyddlon i ofalu am eu cynal yn gysurus. 2. Pobl ddiog a diofal am danynt eu hunain a'u teuluoedd—ni bydd yma neb yn barod i gynorthwyo rhai felly. 3. Rhai anonest a thwyllodrus: mae yma ormod o rai felly eisoes. 4. Meddwon a diotwyr; os na ddiwygiant cyn dyfod, byddant yn debyg o lwyr-ddifetha eu hunain yma, fel y gwnaeth llawer eisoes. 5. Rhai wedi tori yn anghyfiawn, ac heb dalu eu cyfiawn ddyledion yn yr Hen Wlad; dylent aros gartref nes gwastadau eu cyfrifon, a thalu eu dyledion cyfiawn, neu gael eu rhyddhau yn gyfiawn, yn hytrach na dyfod yma i ddarostwng eu hunain yn waeth, ac i boeni a therfysgu yr eglwysi. 6. Gweinidogion a phregethwyr a fyddont wedi *colli* eu cymeriadau da, trwy unrhyw ddrygioni. Nis gallant *lechu* yma yn ddieuog. Goddiweddir hwynt gan eu hanwiredd. 7. Nid wyf ychwaith yn cynghori unrhyw weinidog *cymeradwy* yn Nghymru i ymfudo yma, *cyn* iddo gael gwybodaeth sicr gan ryw

eglwys neu gyfaill ffyddlon fod yma le iddo i gael ei gynhaliaeth yn gysurus, a bod yn ddefnyddiol dros ei Waredwr. Ar hyn o bryd, nid wyf yn deall fod angen am ond *ychydig* o *weinidogion Cymreig* yn y wlad hon; rhaid iddynt aros am *symudiad*, neu *farwolaeth* y gweinidogion sydd yma yn bresenol, neu hyd nes y ffurfir ychwaneg o sefydliadau ac eglwysi Cymreig yma, cyn y bydd angen mawr am wasanaeth llawer o honynt. Dylent fod yn ddynion o gymeriad uchel am eu duwioldeb, eu dysg, eu talent, a'u defnyddioldeb, ac nid yn *wehilion gwrthodedig* yn Nghymru. Credwyf nas gall un gweinidog a ddaw yma, o hyn allan, fod yn gysurus, a pharchus, a defnyddiol, mewn un eglwys *yn hir*, os na bydd yn alluog i siarad ac ysgrifenu yr iaith Gymraeg a Saesonaeg yn gywir; a goreu oll os gall bregethu hefyd yn Saesonaeg, am y bydd angen am hyny yn aml, mewn claddedigaethau, &c. Oddeutu deugain mlynedd yn ol, yr oedd *rhyw fath* o bregethwr Cymreig yn gwneyd y tro i ychydig o Gymry tylodion oedd newydd sefydlu yn y coedwigoedd, am nad allent gael na chynal rhai gwell. Gwnaeth amrai o'r rhai hyny lawer o ddaioni; ond gorfu iddynt weithio yn galed â'u dwylaw eu hunain, er cynal eu hunain a'u teuluoedd. Ond y mae amgylchiadau Cymry America yn awr yn dra gwahanol; eu chwaeth yn fwy coethedig, eu plant yn fwy dysgedig, eu heglwysi a'u cynulleidfaoedd yn fwy lluosog a pharchus, a'u haelioni crefyddol yn llawer mwy. Rhaid i'r rhan fwyaf o honynt gael "*gweinidogion cymhwys*" yn mhob ystyr. Yr wyf yn sicr fod y llinellau hyn yn deilwng o ystyriaeth ddifrifol pob gweinidog a phregethwr *cyn* iddo benderfynu symud o Gymru i America. Ysgrifenais hwynt er eu cyfarwyddyd a'u llesâd. Ond os dewisant beidio talu sylw iddynt, yr wyf yn sicr y cânt brofiad chwerw cyn pen pum' mlynedd ar ol ymfudo yma, eu bod wedi gwneyd *camgymeriad dirfawr*, ac y bydd yn edifar ganddynt ganwaith. Y mae angen am ychydig o weinidogion *cymhwys* yma yn *awr*, a bydd angen am lawer mwy yn y dyfodol, fel y byddo y sefydliadau Cymreig yn lluosogi ac yn cynyddu. 8. Nid wyf yn cynghori *gwyr* i ddyfod yma heb eu gwragedd a'u

plant, *os* gallant dalu eu traul, ac *os* bydd ganddynt *sicrwydd* am gael gwaith da yn ddioed. Peth peryglus ac anghysurus iawn yw *gwahanu* teuluoedd felly. Cafodd rhai brofedigaethau chwerwon oblegid hyny. Dylid ei ochelyd, os bydd modd. Ond os na ellir, ac os bydd amgylchiadau yn galw am hyny, a digon o deimlad a serch anwyl yn y gwyr at eu gwragedd a'u plant, gallent ymfudo yma eu hunain, ac ymroddi i fod yn sobr, a gweithio yn galed, er enill digon o arian i gael eu teuluoedd yma yn fuan. Os felly, dylent ofalu am dy cysurus iddynt pan ddeuant.

Yr wyf yn cynghori fod i bob tref ac ardal yn Nghymru i ffurfio cymdeithasau ymfudol, a chyfranu yn fisol iddynt; a bod o 10 i 20, neu 50 o deuluoedd Cymreig (perthynol i'r un enwad crefyddol, os gellir), yn gwneyd parotoadau prydlon, ac yn penderfynu ymfudo yn drefnus gyda'u gilydd, a sefydlu gyda'u gilydd ar diroedd y Llywodraeth, neu y reilffyrdd, yn yr Unol Dalaethau yn America. Dylai y rhan fwyaf o honynt fod yn dyddynwyr ymarferol, ac yn werth o leiaf o £200 i £500; a dylent gynorthwyo crefftwyr, yn enwedig saer coed, saer maen, a gôf, a chrydd, a gwniedydd, a melinydd, a gweision a morwynion gweithgar, &c., i ymfudo gyda hwynt. Ac os gallant gymeryd gweinidog cymhwys (a fyddo yn ddyn cryf ac iachus, ac yn dewis cael tyddyn ei hunan, ac yn alluog i'w ddiwyllio), gyda hwynt, da fyddai. Gallai pob enwad crefyddol felly gael llawer o sefydliadau Cymreig yn agos at eu gilydd, a chodi ysgoldai a chapelau, a chael eglwysi ffyddlon a chynyddol iddynt. DYMA Y CYNLLUN GOREU I YMFUDO I'R WLAD HON. (Darllenwch y pennodau dilynol).

## PENNOD VI.

### TIROEDD Y LLYWODRAETH (GOVERNMENT LANDS), A'R MODDAU I'W SICRHAU

Ar amser y Chwildroad, a'r datganiad "Fod yr Unol Drefedigaethau yn America, yn dalaethau rhyddion ac annibynol," yn Gorphenaf 4, 1776, nid oedd ond tair-ar-ddeg o drefedigaethau yn perthyn i'r Undeb, a'r rhai hyny oll yn y dwyrain a'r de, ar lanau y Werydd; ond wedi hyny helaethwyd terfynau y Llywodraeth, drwy brynu tiroedd a gwledydd eangfaith gan y Ffrancod, a'r Indiaid, &c., ac y mae gan y Llywodraeth Gyffredinol, yn Washington, yn awr *filiynau* lawer o erwau o diroedd da yn y Gorllewin, y Gogledd, a'r De, yn enwedig yn Wisconsin, Minnesota, Iowa, Missouri, Nebraska, Kansas, Arkansas, Texas, California, Oregon, a'r holl Diriogaethau (*Territories*). (Gwel eu hanes yn Dosran B o "Hanes Cymry America.") Ac y maent, er y flwyddyn 1841, yn rhoddi 160 o erwau o honynt i bob dinesydd a sefydlo arnynt, am y pris isel o $1.25 yr erw, neu $200 am yr oll, sef *quarter section*, dan y *Preemption Laws.* Ac yn nghanol y Gwrthryfel Mawr, Mai 20, 1862, gwnaeth y Llywodraeth Werinol a dyngarol hon un o'r cyfreithiau goreu a wnaed gan un lywodraeth wladol erioed, er lles y BOBL *yn gyffredinol,* sef ei dinasyddion teyrngarol, a'r holl ymfudwyr a ddeuant yma, ac a amlygant eu bwriad i fod yn ddinaswyr, heb wneyd gwahaniaeth rhwng neb pwy bynag. Gelwir y gyfraith hono, "*An Act to secure Homesteads to actual settlers on the public domain.*" Gwnaed hefyd ddiwygiad arni, ac ychwanegiadau ati, Mawrth 21,

1864, a Mehefin 21, 1866. Gelwir y rhai hyny gan y Cymry, "Cyfreithiau y Cartrefi Rhâd," am eu bod yn sicrhau 160 o erwau o diroedd y Llywodraeth AM DDIM (ond ychydig o ddoleri i'r Cofrestrydd) i bob penteulu, gwr neu wraig, neu i bob un a fyddo dros 21 ml. oed, ac wedi amlygu ei fwriad i fod yn ddinesydd teyrngarol, &c., ond iddynt ymrwymo i *sefydlu ar y tir, a'i ddiwyllio, am bum' mlynedd.* Mae miloedd wedi derbyn ac ymaflyd yn manteision haelfrydig y ddeddf hon, ac wedi cael cartrefi cysurus trwyddi; yn eu plith y mae lluoedd o'n cydgenedl. Mae gan yr Americaniaid well cyfleusderau i ddeall, a chydffurfio â'r deddfau haelionus a manteisiol hyn, am eu bod yn gyhoeddedig yn yr iaith Saesonaeg, yr hon a siaradant, ac am eu bod yn byw yn nes at diroedd rhad y Llywodraeth; ac y gallant symud i fyw arnynt ar ychydig o draul teithiol. Ymfudodd, ac ymfuda miloedd yn barhaus, o diroedd gwaelion y *New England States,* i diroedd ffrwythlon a rhad y gorllewin; nid fel personau a theuluoedd *unigol,* ond yn gymdeithasau (*colonies*) lluosog, arianog, a chrefyddol; a chynorthwyant y gweiniaid i symud gyda hwynt, ac i gael cartrefi rhad a dedwyddol. Dilynir eu hesiampl gan yr Ellmyniaid a'r Gwyddelod. Dyna y cynllun goreu.

Y mae wedi bod yn ofid mawr i mi, na buasai fy nghenedl anwyl, yn enwedig yn Nghymru, er ys blynyddau, wedi cael manteison digonol, yn eu hiaith eu hunain, i ddeall y deddfau dyngarol hyn yn drwyadl, ac na buasai rhyw *gynllun cenedlaethol* wedi ei wneyd, a'i gyhoeddi, a'i roddi mewn gweithrediad, yn mhell cyn hyn, gan Gymry cyfrifol a chyfoethog Cymru ac America, er anog, cyfarwyddo, a chynorthwyo y *dosparth gweithgar* yn yr Hen Wlad, a manau ereill, i ymfudo i'r Unol Dalaethau Amerigol, a sefydlu yr

gymdeithasau cryfion, ar diroedd rhad a ffrwythlon y Llywodraeth ragorol hon. Ffaith yw, fod rhy fychan o lawer o deimlad a haelioni cenedlaethol, a gormod o anmharodrwydd i gydweithredu yn unol â'n gilydd, yn perthyn i ni; a bod hyny yn atal ein cysuron, a'n llwyddiant, a'n defnyddioldeb. Nid oes genym ddigon o ymddiried yn ein gilydd, na digon o ysbryd anturiaethus, na digon o barch i'n harweinwyr; am hyny, y mae braidd bob cynllun doeth a da, a gynygir i ni, er gwellhau ein hamgylchiadau bydol ein hunain, ac er lles cyffredinol ein cenedl, yn cael ei ddiystyru a'i ladd, trwy ddiffyg cydwelediad ac ymroad egniol. Hyd yma, y mae y Cymry, gydag ychydig eithriadau, wedi ymfudo yn annhrefnus, yn ddigynllun, ac weithiau, yn aflwyddianus. Troisant bawb i'w ffordd ei hun. Ni fynent gynghor. Diffyg *undeb*, er sicrhau tiroedd rhad y Llywodraeth i gymdeithasau Cymreig parchus a chryfion, fu ein palliant penaf. Pan oeddym ni yn cysgu, yr oedd cenhedloedd ereill yn effro, unol, a gweithgar; ac, mewn canlyniad, mae ganddynt yn awr lawer o'r sefydliadau mwyaf ffrwythlon a dedwydd, a threfydd a dinasoedd goludog, yn y gorllewin.

Dan yr ystyriaeth uchod, a chyda yr awydd mwyaf gonest i lesoli y Cymry yn gyffredinol, yn y ddwy wlad, sefydlasom "*Y Gymdeithas Ymfudol Gymreig,*" yn Mahanoy City, Pa., Ebrill 2, 1869. Dyma dalfyriad o'i chyfansoddiad:—"I. Enw.—Y Gymdeithas Ymfudol Gymreig. II. Ei Dybenion.—Cefnogi a chynorthwyo ymfudiad Cymreig, yn mhob modd dichonadwy, gonest, a llesol. III. Aelodau.—Pob Cymro, dros 21 ml. oed, a fyddo yn ddinesydd yn Llywodraeth yr Unol Dalaethau, yn America, neu a fyddo wedi amlygu ei fwriad i fod felly; ac a fyddo yn aelod ffyddlon, neu yn wrandawr haelionus yn un o'r eglwysi efengylaidd Cymreig; ac a gymero un gyfran (*one share*) gwerth $500, neu ychwaneg o gyfranau yn y Gymdeithas; ac

a ymrwymo i'w talu i'r trysorydd, pan fyddo angen am danynt i brynu tir; ac hefyd a dalo yn ddioed 5 *per cent.* ar ei gyfran, ac ychwaneg, os bydd angen, at dreuliadau rheidiol y Gymdeithas, i archwilio y tiroedd, &c. Nis gall neb gael mwy na phum' cyfran, na llai nag un. Ond gall dau neu bedwar o rai gweiniaid, o'r un cymeriad parchus, ymuno â'u gilydd i gymeryd *un share* rhyngddynt, a bod gan un o honynt bleidlais, fel yr aelodau ereill, yn ngweithrediadau y Gymdeithas. Rhaid i bob un o'r cyfran-dalwyr benderfynu ymfudo i'r sefydliad newydd mor fuan ag y gall ar ol prynu y tir, er ei ddiwyllio. Caiff pob un a gofrestro ei enw ar lyfr y Gymdeithas, ac a dalo gyfanswm ei gyfran, neu ei gyfranau, i'r trysorydd, Rhagfyr 1, 1869, (neu yn gynt os bydd angen am danynt i brynu y tir), gyflawn werth ei arian o'r tir, *am y pris y prynir ef gan y Gymdeithas.* Ond gwerthir y tiroedd i'r rhai a ymunant â'r Gymdeithas wedi hyny, am y prisiau mwyaf rhesymol, er eu lles hwy a'r Gymdeithas. Ystyrir pob un a gyfrano $50, ac uchod, at gynorthwyo y Gymdeithas, yn aelod anrhydeddus o honi. IV. Swyddogion.—Bydd y Gymdeithas dan reolaeth naw, o leiaf, o ymddiriedolwyr, gan y rhai y bydd hawl i ethol ei swyddogion, sef Llywydd, Is-lywyddion, Trysorydd, Ysgrifenyddion, a phob swyddwyr rheidiol ereill. Etholir y *Trustees* yn flyneddol trwy bleidlais yr holl aelodau, i'r rhai y byddant yn gyfrifol am eu holl weithrediadau. V. Rheolau.—Bydd gan y *Trustees,* fel Bwrdd o Gyfarwyddwyr, gyda swyddogion y Gymdeithas, hawl i ffurfio, a gwellhau ei Rheolau (*By-Laws*) o bryd i bryd, yn unol a'i Chyfansoddiad. Yn ol y rheolau hyny y rhenir y tir, y rhoddir pris cyfartal arno, &c. Ar ddechreuad pob sefydliad, dan nawdd y Gymdeithas, rhaid i bob un o'r enwadau efengylaidd Cymreig ymdrechu cael o 25 i 50 o deuluoedd crefyddol, parchus, perthynol i'r un enwad, i ymfudo gyda'u gilydd, fel y gallont sefydlu eglwysi cryfion ar unwaith, ac adeiladu capel yn y lle mwyaf cyfleus yn y rhandir hwnw a drefnir iddynt gan y Gymdeithas, a chynal eu gweinidog dewisol eu hunain yn gysurus a pharchus. VI. Cyfreithlondeb y Gymdeithas.—Mor fuan ag y ceir

nifer digonol o enwau parchus i ymrwymo i gymeryd haner cant o gyfranau (50 *shares*) cyflawn, gwerth $500 yr un, yr hyn a wna gyfanswm o bum' mil ar hugain ($25,000), gwneir cais at yr awdurdodau gwladol am awdurdod i gorffori y Gymdeithas, yn unol â deddfau Llywodraeth yr Unol Dalaethau. Hyd nes y gwneir hyny, nid yw y Gymdeithas am dderbyn un cent o'r cyfranau (*shares*), dim ond y 5 *per cent.* gofynol arnynt yn ddioed, ac ychwaneg os bydd eisiau, at dreuliadau rheidiol y Gymdeithas. Hyd hyny, rhaid i bob un ymddiried yn nghymeriad a chyfrifoldeb swyddogion presenol y Gymdeithas, y rhai sydd ddinaswyr parchus, ac yn berchenogion llawer o eiddo (*personal and real estate*) gwerthfawr, yn Mahanoy City, Pa."

Rhoddwyd cyhoeddusrwydd i'r *cynllun newydd* uchod yn y cylchgronau Cymreig yn America, a thrwy argraffu a lledaenu llyfryn bychan (*pamphlet*), a thrwy ddarlithiau yn y sefydliadau Cymreig yn haf y fl. 1869. Ymunodd oddeutu deg-ar-hugain â'r Gymdeithas, gan ymrwymo i dalu eu cyfranau, $500 yr un, Rhagfyr 1, 1869. Caed cymeradwyaeth cyffredinol i'r cynllun, a buasai yn sicr o lwyddo, a bod yn dra llesol i'r Cymry yn gyffredinol, pe buasai pob un o'r aelodau yn ymaflyd ynddo o ddifrif, a rhan fawr o honynt yn ymroddi i ymfudo gyda'u gilydd yn *ngwanwyn* y fl. 1870, yn ol ein bwriad cyntaf, i *ddechreu y sefydliad.* Yr oedd lluoedd o Gymry parchus, tyddynwyr a chrefftwyr, yn y gwahanol dalaethau, yn barod i ymuno â'r Gymdeithas, ac i wneyd eu goreu drosti, ac i ymfudo gyda ni—*ond* iddynt gael ein gweled *ni wedi dechreu sefydlu* ar y tiroedd. Yr OND yna a fu yn rhwystr a digalondid mawr i ni. Ymroddodd aelodau *ffyddlon* y Gymdeithas i wneyd eu *goreu;* talasant yr holl arian a dderbyniasant o'r 5 per cent., sef tua $775, am lyfrau a phapyrau y Gymdeithas, am argraffu y pamphlet, am ysgrifenu, am archwilio y tiroedd, &c. Cawsant adroddiadau cynnwysfawr a gwerthfawr gan y ddau ymchwiliwr a benodwyd ganddynt; penderfynasant ar y *lle* mwyaf manteisiol i ymfudo iddo, a sefydlu ar diroedd rhad y Llywodraeth, sef ar lanau y *Little Blue River,* yn siroedd Jones a Jefferson, Nebraska; neill-

duasant bwyllgor i edrych dros a diwygio Cyfansoddiad y Gymdeithas, ac i gael *charter* gan y Llywodraeth, &c. Ond ychydig cyn Rhagfyr 1, 1869, yr oedd rhai wedi troi allan yn anffyddlon—ereill yn methu cydweled ar rai o'r rheolau—ereill wedi digaloni; am hyny, ac am na wnaed y *charter* yn gyfreithiol, ac nad oedd *neb yn barod* i ymfudo i, a sefydlu ar y tiroedd, er *dechreu* y *sefydliad*, yn Mawrth, 1870, penderfynwyd yn unol i *beidio* derbyn dim o arian y *shares* o $500 gan yr aelodau, ac i ddychwelyd yr arian a dderbyniwyd yn Pennsylvania, ac yn Ohio, i wneyd y cyfrifon i fyny, ac i lwyr dalu pob dyled, ac i *derfynu* y Gymdeithas yn anrhydeddus. Gwnaed hyny mewn cyfarfod rheolaidd, Rhagfyr 8, 1869.

Gallesid prynu y tiroedd hyny, y pryd hyny, am oddeutu $2.50 yr erw; ac yr oedd yno, yr amser hwnw, filoedd o erwau o diroedd y Llywodraeth i'w cael am $1.25 yr erw, neu am *ddim* ond sefydlu arnynt a'u diwyllio. Ac er nad oedd yno y pryd hyny un reilffordd yn nes na 40 milldir, y mae sicrwydd yn awr y gwneir un drwy y lle i Fort Kearney. Buasai y tiroedd hyny yn awr yn werth o $5 i $10 yr erw, a buasai yno sefydliad cryf o Gymry parchus. Ar y llanerch dewisedig, iachus, a ffrwythlon hwnw y mae y "*Plymouth Colony,*" wedi sefydlu yn haf y flwyddyn hon (1871), ac y maent yn canmol y lle, fel un o'r manau hyfrydaf yn rhanbarth de-ddwyrain Nebraska.

Buasai yn llawer gwell i fwnwyr Pennsylvania heddyw pe buasent wedi ymaflyd o ddifrif yn y Gymdeithas, ac wedi ymfudo gyda'u gilydd. Ond collasant y cyfleustra a'r fantais hono am byth. A bu hyny yn fwy o siomedigaeth ac o golled i ysgrifenydd y llinellau hyn nag i neb arall. Nid wyf yn beio neb. Yr oedd llawer o anhawsderau ar ein ffordd i wneyd *dechreuad da.* Nid oedd genym ddigon o *gyfalaf,* ac nid oedd un *Cymro cyfoethog* yn barod i'n cynorthwyo, er i ni geisio hyny; ac yr oeddym yn ofni na buasai trysorfa y Gymdeithas yn ein galluogi i sicrhau digon o diroedd yn agos at eu gilydd er cael sefydliad Cymreig cryf a llewyrchus, a chadw cenhedloedd ereill draw, nes cael amser i'r Cymry i ymfudo yno a'i feddianu. Gohebais âg amrai o wyr urddasol, ac â swyddogion y Llywodr-

aeth ar y mater pwysig hwn, dros ein Cymdeithas yn nechreu y flwyddyn 1869, ac wedi hyny. Nid oeddym yn gofyn dim gan y Llywodraeth, ond iddi sicrhau darn mawr o dir—tua dau gan' mil o erwau (200,000 *acres*), mewn gwlad iachus a ffrwythlon, megys Kansas, Nebraska, neu Oregon—i'r *Cymry yn unig*, a gadael i'r Gymdeithas gael o bump i ddeng mlynedd i dalu am dano, fel y buasai yn cael ei sefydlu. Ond ymddengys oddiwrth y llythyr caredig a gwerthfawr canlynol a dderbyniais oddiwrth yr Anrhydeddus Jos. S. Wilson, *Commissioner of the General Land Office*, fod hyny yn annichon iddynt, dan y cyfreithiau presenol. Am fod y llythyr yn un cynnwysfawr, ac yn egluro deddfau y wlad hon, mewn perthynas i'r moddion y gall ymfudwyr gael hawl i feddianu tiroedd y Llywodraeth, cyfieithais ef i'r Gymraeg, ac yr wyf yn ei gyhoeddi yma er hyfforddiant a lles y Cymry yn gyffredinol. Cefais hefyd gyfleustra i ymddiddan â Mr. Wilson, yn bersonol ar yr achos yn ei swyddfa yn Washington, D. C. Cyflwynwyd fi i'w sylw caredig gan fy nghyfeillion urddasol, sef y *General* Henry L. Cake, a'r *Governor* Jno. W. Geary, Harrisburgh, Pa., y rhai a wnaethant eu goreu drosom, i'r rhai yr wyf yn dra diolchgar. Fel hyn y dywed yn ei lythyr:—

At y Parch. Robt. D. Thomas, Mahanoy City, Pa.

Department of the Interior,
General Land Office, Chwef. 21, 1870.

Syr,—Derbyniais eich llythyr, yn amgau gohebiaeth oddiwrth y Parch. R. R. Williams at y Seneddwr Pomeroy, yn amcanu sefydlu rhyw nifer o ymfudwyr Cymreig ar diroedd y Llywodraeth.

Mewn atebiad i'ch ymofynion, dymunwn eich hysbysu nad oes gan yr Arlywydd, nac un swyddog arall, awdurdod i ddefnyddio y tiroedd cyhoeddus *ond yn ol y gyfraith*. Canfyddwch y dulliau cyfreithiol yn cael eu gosod allan yn helaeth yn y llyfrau a'r papyrau a anfonir i chwi gyda y llythyr hwn, a bwriadir hwynt i fod yn gynorthwy i chwi yn y dyfodol i ddeall y pethau rheidiol hyn. Nodaf yma yn fyr ychydig o'r prif ffeithiau a'r egwyddorion.

Mae y tiroedd cyhoeddus yn cael eu dosparthu yn gyntaf fel tiroedd "mesuredig" ac "anfesuredig." Yr unig hawliau dechreuol a ddeillia i diroedd *anfesuredig*, a sicrheir drwy sefydliad arnynt dan gyfreithiau y rhagbryniad (*pre-emption laws*).

Ar ol mesuriad gellir canlyn yn mlaen yr hawl ddechreuol hon trwy weithredu yn ol y gofynion cyfreithiol, hyd at gael teitl perffaith, a'r prawf cyfreithiol o hyny yw breintysgrif (*patent*) dan law Arlywydd yr Unol Dalaethau.

Danranir tiroedd "mesuredig" i rai *heb* eu cynyg ar werth, ac i rai *wedi* eu cynyg felly. Ni ellir defnyddio y rhai *na* chynygiwyd ar werth, ond yn unig dan ddeddfau y rhagbryniad, a'r cartrefi rhad (*homesteads*), neu er cyflawniad rhoddion *neillduol*, neu ddosranau neillduol o "land scrip." Tiroedd wedi eu cynyg yw y rhai hyny sydd yn aros heb eu gwerthu ar ol cynygiad cyhoeddus. Gellir cael y rhai hyn mewn unrhyw nifer o erwau, unrhyw amser, ar ol hyny, am arian drwy bryniad cyffredin a phersonol.

Rhodda deddf y rhagbryniad i bob dinesydd o'r Unol Dalaethau, neu i bob un a gofrestrodd ei fwriad i fod yn ddinesydd felly, yn un o'r llysoedd cofrestrol awdurdodedig, ac a fyddo yn 21 mlwydd oed, yr hawlfraint o sefydlu ar unrhyw 160 o erwau o dir fyddo heb ei ragfeddianu, ac i'w brynu am bris penodol, mewn amser terfynedig.

Os sefydlir ar diroedd fyddont *heb* eu cynyg ar werth, rhaid i'r sefydlwr o fewn tri mis roddi rhybudd cyhoeddus o'i fwriad i ragbrynu, trwy roddi yn y swyddfa dirol yn ei randir, fynegiad ysgrifenedig, yn gosod allan amseriad ei sefydliad, desgrifiad o'r tir wrth ei danranau cyfreithiol, a'i fwriad i'w ddefnyddio o dan gyfraith y rhagbryniad. Ond pan sefydlir ar diroedd fyddo *wedi* cael eu cynyg ar werth, rhaid i'r fath fynegiad ysgrifenedig gael ei roddi o fewn 30 diwrnod ar ol sefydlu ar y tir.

Os ar diroedd fyddont heb eu cynyg ar werth y bydd, rhaid i'r rhagbrynwr ymddangos yn swyddfa dirol ei randir, *o flaen* y diwrnod y byddo y tir i gael ei werthu yn gyhoeddus, yn ol cyhoeddiad yr Arlywydd, a phrofi i foddlonrwydd y cofrestrydd a'r derbynydd, ei fod yn meddu cymhwysderau rhagbrynwr o dan y gyfraith; ei fod wedi gwneyd sefydliad yn unol a'i fynegiad ysgrifenedig, ac ei fod wedi ei feddianu a'i ddiwyllio yn y fath fodd ag a brofa fwriad didwyll i'w wneyd yn gartref parhaus. Os profir y pethau hyn i foddlonrwydd, ac os na bydd hawl wrthwynebol wedi ei ganiatau i'r tir, goddefir i'r rhagbrynwr ei feddianu, trwy dalu $1.25 yr erw, sef y pris lleiaf (*minimum*), neu $2.50 yr erw am dir y "*double minimum.*" Mae yr olaf yn gynnwysedig yn y dosranau (*sections*) a nodir â chydrif (megys 2, 4, 6, 8, &c.), o fewn terfynau y tiroedd a roddodd y Llywodraeth i'r reilffyrdd ; ond y rhai a nodir âg anghydrif (megys 1, 3, 5, 7, &c.), a roddwyd er cynorthwyo gwneuthuriad y reilffordd.

Os bydd y tir wedi cael ei gynyg ar werth, rhaid i'r rhagbrynwr brofi ei hawl i'r tir, a thalu am dano o fewn 12 mis i'r sefydliad. Rhaid anfon ysgrifdyst y meddiant a thaleb arian y pryniant, y pryd hyny, i'r Swyddfa Dirol Gyffredinol, yn Washington, pryd, ar ol archwiliad priodol, pan na bydd hawl

wrthwynebol yn ymddangos, a phan fyddo holl ofynion y gyfraith wedi cael eu boddloni, rhoddir breintysgrif i'r rhagbrynwr ar y tir, wedi ei harwyddo yn enw yr Arlywydd, a sel fawr y Swyddfa Dirol Gyffredinol wedi ei chysylltu â hi.

Mae deddf y cartref (*homestead law*) yn rhoddi i unrhyw berson fyddo yn feddianol ar y cymhwysderau a nodir yn y gyfraith, yr hawl i sefydlu ar unrhyw 160 o erwau o dir fyddo heb ei feddianu, a'i ddefnyddio drwy bum' mlynedd o sefydliad a diwylliad parhaus, ond iddo gofrestru ei fynegiad ysgrifenedig a ofynir gan ddeddf y rhagbryniad. Mae y deddfau hyn yn cael eu cymhwyso at diroedd *a* gynygiwyd, ac *na* chynygiwyd ar werth.

O dan y darpariadau cyfreithiol hyn, gellir sefydlu ymfudwyr yn drefedigaethau (*colonies*) a chymydogaethau, trwy ddewis darnau o diroedd nad ydynt eisoes wedi eu sefydlu gan boblogaeth gref. Cymeradwywyd y dull yma o sefydlu, yn adroddiadau y swyddfa hon, fel peth ymarferol a llesol, ac ymddengys ei fod yn dra dymunol gan lawer o ddosparthiadau o ymfudwyr. Nis gall y swyddfa hon wneyd trefniadau o'r natur hyn, ac nid yw yn rheidiol iddi eu gwneyd. Nid oes hyfforddiad neillduol wedi ei osod yn y swyddfa hon, a'm galluoga i gyfarwyddo ymfudwyr i sefydlu ar unrhyw ddarn neillduol o dir.

Mewn llawer o'r talaethau, o fewn meddianau cyhoeddus y Llywodraeth, mae rhagswyddwyr ymfudol (*commissioners of imigration*) wedi eu penodi, at y rhai y gellid gwneyd cais am y fath gyfarwyddyd. Gellid cael hyfforddiant hefyd am y tiroedd a roddodd y Llywodraeth i wahanol gwmpeini y reilffyrdd, trwy wneyd cais am hyny at swyddogion y gwahanol gwmpeini hyny.

Y rhai uchod yw yr amodau (*terms*) a ellir eu cynyg dan y gyfraith, er sefydliad y tiroedd cyhoeddus. Efallai, wedi i chwi ddyfod yn hyddysg ynddynt fel y gosodir hwynt allan yn yr adroddiadau, a'r cylchlythyrau, a'r mapiau, a anfonwyd i chwi, y gwelwch eu bod yn dangos digon o hawsderau er cael y fath gymdeithas o ymfudwyr yn gymydogaethau, fel ag y dymuna eich cyd-genedl. Nid oes amheuaeth nad ellir cael darnau mawrion (*large tracts*) o'r tiroedd mwyaf dymunol, yn agos at eu gilydd. Os byddech yn dewis tiroedd wedi diwyllio ychydig arnynt, gellid eu cael yn agos at diroedd y Llywodraeth, am ychydig fwy o brisiau.

Gyda hwn yr wyf yn anfon i chwi y papyrau canlynol:—Adroddiad am 1867 (*library edition*). Anfonir yr Adroddiad am 1868 mor fuan ag y bydd genym rai yn barod—Adroddiad am 1869; Cylchlythyr Mawrth 10, 1869; Map diwygiedig o'r Unol Dalaethau. Gan ddymuno cydnabyddiaeth o'u derbyniad, a gobeithio y byddwch yn alluog i ffurfio cynllun ymarferol o ymfudiad a sefydliad eich cyd-genedl ar diroedd y Llywodraeth, Ydwyf, yr eiddoch yn barchus,

JOS. S. WILSON, *Commissioner.*

CYLCHLYTHYRAU AC ADRODDIADAU Y SWYDDFA DIROL.
(*Circulars and Reports of the General Land Office.*)

Yr wyf wedi darllen a myfyrio llawer ar gylchlythyrau ac adroddiadau y Swyddfa Dirol Gyffredinol yn Washington, D. C., a gyflwynwyd i mi drwy garedigrwydd yr Anrh. Jos. S. Wilson. Maent yn cynnwys yr hanesion mwyaf gwerthfawr am *holl* diroedd "mesuredig," ac "anfesuredig" y Llywodraeth, a'r cyfarwyddiadau mwyaf eglur am y gwahanol foddau y gall ymfudwyr eu meddianu dan y cyfreithiau presenol. Cynnwysant gyfrolau mawrion yn yr iaith Saesonaeg, wedi eu cyhoeddi trwy draul y Llywodraeth. Pe buasai modd i'r Cymry gael crynodeb o'r pethau mwyaf buddiol o honynt, yn un gyfrol hardd yn yr iaith Gymraeg, buasai yn drysor anmhrisiadwy i'r genedl yn gyffredinol. Gobeithio y gallant gael hyny, rywfodd, yn fuan. Annichon ydyw i mi gyhoeddi hyd yn nod dalfyriad o honynt yn y gyfrol hon. Ond er mwyn rhoddi ychwaneg o gyfarwyddiadau i'r ymfudwyr Cymreig ac ereill, cyhoeddaf yma ychydig o'r pethau mwyaf rheidiol iddynt eu gwybod, er sicrhau tiroedd rhad y Llywodraeth iddynt eu hunain a'u plant.

Dymunaf ar y darllenydd fyfyrio llythyr y *Commissioner Wilson* yn fanwl, ac hefyd y Cylchlythyr (*Circular*) *Saesonaeg* a gyhoeddwyd gan y Swyddfa Dirol Gyffredinol yn Washington, D. C., Awst 23, 1870, gyd ag Adroddiadau, a Mapiau y Llywodraeth, os gall gael gafael arnynt, ac os yw yn alluog i'w deall a'u defnyddio.

Hefyd, myfyriwch y nodiadau canlynol. Credwyf eu bod yn ffeithiau y gellwch ymddibynu arnynt, dan y cyfreithiau *presenol*, hyd nes y cyfnewidir hwynt gan y Llywodraeth.

1. Mae gan y Llywodraeth Werinol hon filiynau o diroedd rhagorol, mesuredig (*surveyed*) ac anfesuredig (*unsurveyed*) ALLAN o derfynau pob reilffordd. Gellir cael 160 o erwau o'r rhai hyny am y pris lleiaf (*minimum*), sef dolar a chwarter ($1.25) yr erw.

2. Mae y Llywodraeth wedi rhoddi miliynau lawer o'i thiroedd goreu i gwmpeini y gwahanol reilffyrdd, er eu cynorthwyo i wneyd y reilffyrdd; i'r reilffyrdd

*mawrion*, rhoddodd 20 milldir o led bob ochr i'r ffordd, yn cydredeg â hi yr holl ffordd! ac i ereill 10 milldir bob ochr i'w ffyrdd; ac i ereill lai na hyny. Ond y mae y *Llywodraeth* yn hawlio *haner* yr holl diroedd hyny, sef *pob ail filldir petryal*. Eiddo y Llywodraeth yw pob *section* a nodir â chydrif (sef 2, 4, 6, 8, 10, &c.), a gwerthir y rhai hyny, o FEWN terfynau y reilffyrdd, am $2.50 yr erw (*double minimum*). Ond cofiwch mai eiddo y reilffyrdd yw y milldiroedd ysgwar ereill, neu y *sections* a nodir âg anghydrif (sef 1, 3, 5, 7, 9, &c.), ac eu bod hwy yn eu gwerthu am y prisiau goreu a allant gael am danynt, sef o $5 i $10 yr erw; a rhoddant amser maith i dalu am danynt, a theitl da iddynt.

3. Nis gall neb gael *mwy* na 160 o erwau o diroedd y Llywodraeth yn un man *allan* o derfynau y reilffyrdd, na *mwy* na 80 erw o dir *o fewn* terfynau y reilffyrdd.

4. Mae gan y Llywodraeth swyddogion awdurdodedig yn mesur ei thiroedd cyhoeddus, yn barhaus, yn y gwahanol diriogaethau gorllewinol, a rhai talaethau; ac yn aml y mae yr Arlywydd yn cyhoeddi fod rhanau ehelaeth o'r tiroedd hyny i gael eu gwerthu yn gyhoeddus i'r uwchaf ei gynyg (*at public auction to the highest bidder*). Gallai cymdeithasau ymfudol Cymreig, pe byddai ganddynt drysorfa barod o $25,000 i $100,000, gael mantais neillduol wrth brynu felly ar amser yr arwerthiad cyhoeddus.

5. Gellir prynu y tiroedd fydd yn sefyll heb eu gwerthu, ar ol eu cynyg ar arwerthfa gyhoeddus, fel uchod, unrhyw amser, a'r nifer a fyner o enwau, am arian parod, trwy i'r prynwr wneyd cais ysgrifenedig at gofrestrydd y rhandir hwnw, gan ddarlunio lle a maintioli y darn tir a fyddo am ei brynu. Rhodda y cofrestrydd daleb (*receipt*) iddo am arian y pryniant; ac yn fuan wedi hyny caiff freintysgrif (*patent*) neu deitl da am dano o Washington. Nis gall neb brynu y fath dir am *lai* na $1.25 yr erw. Bydd yn fwy na hyny weithiau. Gelwir y fath bryniant yn "*cash purchase by private entry, or location.*"

6. Gellir cael tiroedd y Llywodraeth hefyd trwy *land warrants*, y rhai a werthir weithiau gan y Llywodraeth

yn rhad iawn, neu am ddim i'w milwyr a'i morwyr teyrngarol. Gellir cael 160 o erwau felly, mewn unrhyw fan fyddo heb ei ragfeddianu, trwy wneyd cais at y Cofrestrydd lleol.

7. Gellir cael tiroedd y Llywodraeth hefyd trwy "*agricultural college scrip,*" trwy wneyd cais at y Cofrestrydd lleol yr un modd.

8. Os sefydlir ar y tiroedd sydd *heb* eu mesur gan y Llywodraeth, ac a fyddont yn cael eu poblogi a'u meddianu fel *reservations* gan yr Indiaid, ni byddai yn ddyogel prynu tiroedd ganddynt hwy, am nad oes ganddynt hawl i'w gwerthu; ac nid ellir cael teitl da i diroedd felly am lawer o amser—hyd nes y mesurir ac y gwerthir hwynt gan y Llywodraeth. Dylech hefyd ofalu am beidio sefydlu ar dir y byddo ereill wedi ei ragfeddianu. Holwch yn fanwl yn swyddfa y Cofrestrydd lleol.

9. Os byddwch wedi prynu, neu sefydlu ar dir y Llywodraeth, mewn unrhyw fan, yn rheolaidd, *cyn* iddo gael ei neillduo at wasanaeth y reilffyrdd, mae deddfau y Llywodraeth yn amddiffyn eich hawl iddo; ac nis gall cwmpeini y reilffyrdd ei gymeryd oddiarnoch, ond i chwi dalu $1.25 yr erw am dano i'r Llywodraeth, yn ei amser priodol.

10. Pe digwyddai i'r sefydlwr farw cyn talu am ei dir, a sicrhau y *title* iddo, o fewn yr amser pennodol gan y gyfraith, gall ei wraig, neu ei etifeddion, trwy brofi y sefydliad a'r diwylliad, a thalu yr arian, gael breintysgrif (*patent*) ar y tir hwnw.

11. Pan fyddo pobl yn sefydlu ar diroedd mesuredig y Llywodraeth, dan Gyfreithiau y Cartrefi Rhad (*The Homesteads Acts*), yn Michigan, Wisconsin, Iowa, Missouri, Minnesota, Kansas, Nebraska, Dakota, Alabama, Mississippi, Louisiana, Arkansas, a Florida, rhaid iddynt dalu y cyfanswm o $18, fel *Commission* a *Fees*, i'r Cofrestrydd a'r derbynydd, am 160 o erwau o dir. Ond yn y lleoedd canlynol, California, Nevada, Oregon, Colorado, New Mexico, Washington, Arizona, Idaho, Utah, Wyoming, a Montana, rhaid iddynt dalu ychydig yn fwy, sef $22.

12. Rhaid i bob un a sefydlodd ar diroedd y Llywodraeth, dan Gyfraith y Cartref Rhad, ofalu am fyw

arno a'i ddiwyllio am bum' mlynedd; ac ar ddiwedd hyny, neu cyn pen dwy flynedd wedi hyny, rhaid iddo brofi i foddlonrwydd i'r Cofrestrydd ei fod wedi gwneyd felly, (ac heb ei adael am fwy na chwe' mis,) cyn y caiff Ysgrifdyst (*Patent*) arno. Nis gall neb ei gymeryd oddiarno am ddyled, ac nis gall yntau ei werthu i neb *cyn* cael *title* arno. Ond os bydd y tad a'r fam wedi marw, a gadael plant ieuainc ar ol, gellir gwerthu yr *Homestead* er eu lles hwy, a chaiff y prynwr deitl iddo gan y Llywodraeth. Os esgeulusa y sefydlwr fyw arno a'i ddiwyllio am chwe' mis olynol, colla ei hawl ynddo, a gall y Llywodraeth ei werthu i rywun arall; neu, os bydd yn edifar ganddo sefydlu arno, ac os ewyllysia ei roddi i fyny, a symud oddiarno, gall wneyd hyny trwy roddi rhybydd i, a chael caniatad gan, Gofrestrydd lleol y rhandir hwnw; ac wedi hyny gall y Llywodraeth ei werthu i rywun arall; neu, gall y sefydlwr cyntaf *dalu* $1.25 yr erw am dano, wedi iddo sefydlu arno a'i ddiwyllio am chwe' mis, a chael *Patent* arno yn ddioed; wedi hyny gall ei adael neu ei werthu. Nis gall neb gael mwy na 160 o erwau dan y gyfraith hon; a chofier, os bydd i ryw sefydlwr esgeuluso byw arno, a'i adael, yn afreolaidd, nad all gael *Homestead Rhad* arall gan y Llywodraeth. Gall personau fyddo wedi sefydlu ar, a thalu am, 80 neu 40 erw o dir, gael hawl dan y gyfraith hon i'w helaethu i 160 o erwau, trwy dalu $1.25 yr erw am yr ychwanegiad, os bydd tiroedd y Llywodraeth yn gyfagos iddo, trwy hysbysu y Cofrestrydd lleol.

13. Mae gan y Llywodraeth Swyddfäau Tirol yn mhob rhandir lle mae ganddi diroedd ar werth; a dyledswydd y Cofrestrwyr a'r Derbynwyr (*Registers and Receivers*) yn y swyddfäau hyny, yw bod yn bresenol ynddynt, a rhoddi pob hyfforddiant a chymorth i bersonau a fyddont yn ymofyn am diroedd. Mae y Llywodraeth yn talu cyflogau blyneddol iddynt.

### SWYDDFÄAU TIROL YR UNOL DALAETHAU.

(*United States Land Offices.*)

Dyma restr gyflawn o honynt yn y gwahanol dalaethau a'r tiriogaethau. Nodir enwau y talaethau yn

gyntaf; wedi hyny enwau y *trefydd* lle mae y swyddfäau. Rhaid i'r darllenydd sylwi ar y *mapiau* er cael gwybod yn mha *siroedd* y mae y trefydd hyny yn sefyll, a'r ffordd rwyddaf i fyned iddynt. Cynghorwyf bob ymfudwr i fyned i un o'r swyddfäau hyn, er cael hyfforddiant i brynu tiroedd y Llywodraeth, a sefydlu yn y lleoedd goreu.

**Michigan**—Detroit, East Saginaw, Ionia, Marquette, Traverse City.
**Ohio**—Chillicothe. **Indiana**—Indianapolis. **Illinois**—Springfield.
**Wisconsin**—Menasha, Falls of St. Croix, Stevens' Point, Bayfield, Eau Claire.
**Minnesota**—Taylor's Falls, St.Cloud, DuLuth, Alexandria, Jackson, New Elm, Litchfield.
**Iowa**—Fort Des Moines, Council Bluffs, Fort Dodge, Sioux City.
**Missouri**—Boonville. Ironton, Springfield.
**Kansas**—Topeka, Junction City, Humboldt, Augusta.
**Nebraska**—West Point, Beatrice, Lincoln, Dakota City, Grand Island.
**Oregon**—Oregon City, Roseburgh, Le Grand.
**California**—San Francisco, Marysville, Humboldt, Stockton, Visalia, Sacramento, Los Angeles.
**Nevada**—Carson City, Austin, Belmont, Aurora.
**Washington Ter.**—Olympia, Vancouver.
**New Mexico Ter.**—Santa Fe. **Montana Ter.**—Helena.
**Dakota Ter.**—Vermillion, Springfield, Pembina.
**Colorado Ter.**—Denver City, Fair Play, Central City.
**Idaho Ter.**—Boise City, Lewiston.
**Arizona Ter.**—Prescott. **Utah Ter.**—Salt Lake City.
**Alabama**—Mobile. Huntsville, Montgomery.
**Louisiana**—New Orleans, Monroe, Natchitoches.
**Arkansas**—Little Rock, Washington, Clarksville.
**Mississippi**—Jackson. **Florida**—Tallahasse.

Nid oes ond ychydig o diroedd y Llywodraeth yn awr i'w cael yn Ohio, Indiana, ac Illinois. Ond y mae cyflawnder o honynt i'w cael yn yr holl Dalaethau ereill a nodir uchod, ac yn yr holl Diriogaethau.

## CYFARWYDDIADAU I DDEALL RHANIADAU TIROEDD MESUREDIG Y LLYWODRAETH.

Mae Llywodraeth yr Unol Dalaethau wedi rhanu ei thiroedd *mesuredig* yn dalaethau, a'r talaethau yn siroedd, a'r siroedd yn drefgorddau (*townships*), a'r trefgorddau yn ddosranau (*sections*). Mae rhai o'r talaethau yn llawer mwy na'r lleill, ac y mae maintioli y siroedd hefyd yn gwahaniaethu. Ond y mae y trefgorddau (*townships*) yn gyffredin yn cynnwys chwe' milldir o hyd wrth chwe' milldir o led, neu 36 o filldirau petryal, neu ychydig dros dair-mil-ar-hugain (23,040) o erwau o dir. Sylwch ar *fap* y Llywodraeth o dalaeth Kansas. Nodir terfynau y *siroedd* â llinellau duon cryfion, ac arliwir hwynt â lliw glas, gwyrdd, melyn, &c., a gwelir eu henwau mewn prif lythyrenau.

Creffwch yn fanwl ar y llinell nodedig a elwir y "*6th Principal Meridian,*" yr hon sydd yn rhedeg yn syth o'r gogledd i'r de, ar draws y dalaeth, o derfyn deheuol talaeth Nebraska, hyd lan afon yr Arkansas, ar gornel sir Ottoe, ger yr Indian Territory; a gwelwch fod y nodau 1, 2, 3, 4, hyd 26, wedi eu hargraffu yn ei hymyl; noda y ffigyrau hyn rif y *townships.* (Nodir y rhai dwyreiniol ar y mapiau bychain (*Platt*) a wneir o'r trefgorddau, gan werthwyr tiroedd, Township 1 East, neu Township 1 West, &c.) Sylwch hefyd ar y llinell derfynol (*boundary line*) rhwng talaethau Kansas a Nebraska, ac ar y nodau I. II. III. IV., &c., sydd wedi eu hargraffu dani, ac yn rhedeg gyda hi; mae y rhai hyn yn nodi y Rhesi (*Ranges*) yn ddwyreiniol a gorllewinol i'r *6th Principal Meridian Line,* a nodwyd o'r blaen; os yn ddwyreiniol, nodir hwynt fel hyn, Range 1 E., neu yn orllewinol, Range 1 W. Mae yr E. yn golygu *East,* a'r W. yn golygu *West.* Mae llinellau y *Townships* yn rhedeg o'r dwyrain i'r gorllewin; a llinellau y *Ranges* yn rhedeg o'r gogledd i'r de, ac yn croesi eu gilydd, gan ffurfio gwahanol drefgorddau (*townships*) yn mhob sir, drwy y rhanau *mesuredig* o diroedd y Llywodraeth. Yn ol y dull syml hwn y mae y Llywodraeth yn mesur ac yn mapio ei thiroedd; ac y mae yn hawdd i'w deall; a gall pob un wybod yn mha le y mae ei dir yn sefyll yn y dalaeth. Ni welir dosranau llai na'r *townships* ar fapiau mawrion y Llywodraeth. Ond ar bapyrau ereill (*Platt*), mae y Llywodraeth, a chwmpeini y reilffyrdd, a gwerthwyr tiroedd, yn dosranu y *townships.* Er angraifft:—

Pa le mae *Tref* BANGOR, yn Coffey Co., Kansas, yn sefyll?

Ateb.—Yn Section 9, Township 23 S., Range 14 E., East of 6th P. M.

T.23.S. R.14.E. E of 6th P.M.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 6 | 5 | 4 | 3 | 2 | 1 |
| 7 | 8 | Bangor 9 | 10 | 11 | 12 |
| 18 | 17 | 16 | 15 | 14 | 13 |
| 19 | 20 | 21 | 22 | 23 | 24 |
| 30 | 29 | 23 | 27 | 26 | 25 |
| 31 | 32 | 33 | 34 | 35 | 36 |

Yn y cynllun uchod, gwelir township cyflawn, sef chwe' milldir petryal o dir, yn cynnwys 36 o filldirau ysgwar, neu *sections*, a phob un o honynt yn cynnwys 640 o erwau o dir. Sylwch ar y rhif 1, mae wedi ei ranu yn *bedair* rhan, a phob un yn cynnwys 160 o erwau; gelwir y rhai hyn yn *quarter sections*, a nodir hwynt yn ol fel y byddont yn sefyll i'r gogledd, de, &c., fel hyn—S. E. ¼., neu S. W. ¼, neu N. E. ¼, neu N. W. ¼, of Section 1, &c. Sylwch hefyd ar rif 2; mae wedi ei ddosranu yn *wyth* o ranau, a phob rhan yn cynnwys 80 erw o dir; ac ar rif 3, y mae wedi ei ranu yn un-ar-bymtheg, a phob rhan yn cynnwys 40 erw. Nid yw y Llywodraeth yn eu dosparthu yn llai na hyny. Pan fyddo y *townships* o *fewn* terfynau y reilffyrdd, (neu *grants* y Llywodraeth i gwmpeini y reil-

ffyrdd—weithiau ddeg milldir, bryd arall ugain milldir o bob tu i'r reilffyrdd,) cofiwch mai y cydrifau (*even numbers*) sef 2, 4, 6, 8, 10, &c., yw eiddo y Llywodraeth, ac mai yr anghydrifau, sef 1, 3, 5, 7, 9, &c., yw eiddo y reilffyrdd. Wedi i chwi fyfyrio a deall yr eglurhad hwn, ar y lle y mae tref Bangor, yn Coffey Co., yn sefyll yn Kansas, bydd yn hawdd i chwi ddeall pa le mae Emporia, ac Arvonia, a Reading, a'r Bala yn Powys, yn sefyll, ond sylwi ar Fapiau y Llywodraeth, a'r tirwerthwyr, &c. Gellwch felly ddeall pa le y mae pob man yn sefyll, er na welsoch y tir erioed.

## PENNOD VII.

### TIROEDD Y TALAETHAU, A'R REILFFYRDD, AC EREILL.

(*States and Railroads Lands, &c.*)

Yr wyf eisoes, yn y bennod flaenorol, wedi hysbysu y darllenydd am diroedd cyhoeddus a rhad y Llywodraeth Gyffredinol, yn Washington, D. C., a'i gyfarwyddo am y gwahanol foddau i'w meddianu. Yn y bennod hon ymdrechaf ei hysbysu am lawer o diroedd dymunol ereill, (lawer mwy cyfleus i fasnach, &c., na'r rhan fwyaf o diroedd y Llywodraeth,) y gall eu meddianu, a gwneyd cartref cysurus arnynt, am ychydig yn ychwaneg o bris, sef y tiroedd a roddodd y Llywodraeth i'r gwahanol dalaethau at godi ysgoldai, a chynal ysgolion; ac i Gwmpeini rhai o'r reilffyrdd at dalu y draul o wneyd y reilffyrdd.

Yr wyf yn hysbys o lawer o honynt, ac o'r swyddfäau tirol lle gellir gwneyd cais am danynt. Ond nid wyf yn proffesu fy mod yn gwybod am yr oll. Cynghorwyf bob ymfudwr galluog i ymdrechu cael Mapiau ac Adroddiadau y Llywodraeth, yn nghyda llyfrau ereill, yn cynnwys hanes tiroedd y dalaeth y byddo yn bwriadu ymsefydlu ynddi, a'u darllen a'u myfyrio yn fanwl. Gall gael y rhai hyny yn y Swyddfa Dirol Gyffredinol yn Washington; ac yn swyddfäau cyhoeddus pob llywodraeth dalaethol. Pryned a darllened hefyd y llyfrau canlynol:—sef, 1. "Appletons' Railway and Steam Navigation Guide," by G. F. Thomas, Editor, and General Traveling Agent. Pris 50 cents. Gall ei gael, bob mis, yn Swyddfa D. Appleton & Co., 90 & 94 Grand Street, New York, neu mewn unrhyw lyfrwerthfa arall, neu yn y cerbydau ar y reilffyrdd. 2.

"The Travelers' Official Railway Guide," for the United States and Canada. Compiled and Edited by Edward Vernon. Pris 50 cents. Gellir ei gael gan y "National Railway Publication Co.," No. 237 Dock Street, Philadelphia, neu fel yr hysbyswyd uchod, yn y depots, ar y cars, &c. Mae y ddau llyfr uchod yn drysorfäau tra gwerthfawr o bob gwybodaeth reidiol am yr holl reilffyrdd, trwy y wlad eang hon; cynnwysant restr o'u henwau, a thafleni o'r amserau y byddant yn cychwyn o, ac yn dyfod i, bob lle, yn nghyda hanes llawer iawn o'r tiroedd rhagorol sydd ar werth gan rai o honynt. Nis gall neb deithio *llawer* yn gysurus gyda y reilffyrdd yn y wlad hon, heb ei fod yn gyfarwydd yn un o'r llyfrau hyn. Dylid prynu un o honynt unwaith bob chwe' mis, am fod amser y reilffyrdd yn newid mor aml. Ceisiwch gael y llyfrau ereill a nodaf isod:—

1. Homes and Fortunes in the West and South. By F. B. Goddard, Phila.
2. Beyond the Mississippi. By the late Mr. Richardson, New York.
3. Beyond the West. By George W. Pine, Utica, N. Y.
4. American Lawyer. By Delos W. Beadle, New York.
5. The Farmers' Law Book. By Jacob J. Multer, Albany, N. Y.
6. Christian Life and Character of the Civil Institutions of the United States. By B. F. Morris, 630 Chesnut St., Philadelphia.
7. Reports of the Commissioner of Agriculture, Washington, D. C.
8. Reports of the Commissioner of the General Land Office, Washington.
9. Pre-emption Instructions to Registers of the United States Land Offices.
10. Circulars of the General Land Office, Washington, D. C.
11. Description of Iowa and its Resources. By W. D. Wilson, Des Moines.
12. Hand-Book and Map of Iowa. By Rufus Blanchard, Chicago.
13. Iowa; The Home for Immigrants. Pub. by Iowa Board of Immigration.
14. Oregon; its Resources and Advantages. By the Board of Statistics, &c.
15. The South; Homes for All. Railroads, &c. N. York. Bartow, 43 Dey St.
16. Nebraska as it is. By A. F. Harvey. Nebraska City.
17. Hand-Book and Map of Nebraska. By J. A. Bent. Chicago.
18. Hand-Book and Map of Kansas. " "
19. Bancroft's Map of Lyon Co., Kansas. Emporia.
20. Neosho Colony. Bangor, Kansas. Circular by Bachellor & Jones.
21. Arvonia; Y Sefydliad Cymreig yn Sir Osage, Kansas. 1869.
22. Hanes Powys. Riley Co., Kansas. Gan y Cwmpeini Tirol.
23. Adnoddau a Chynyrchion Talaeth Wisconsin. Gan J. T. Jones, Madison.
24. Minnesota; ei Hanes, &c. Gan J. T. Williams, ac E. E. Ellis, Mankato.
25. Byr-Olwg ar Dalaeth Minnesota. Gan D. C. Evans, South Bend.
26. Minnesota; its Advantages to Settlers. Pub. by the State. St. Paul.
27. Cyfarwyddiadau i Amaethu yn y Gorllewin. Gan Hugh ap Jones, Dawn, Missouri.
28. Emigration to Free Missouri. Apply to Rev. M. W. Willis, General Agent State Board of Immigration, No. 1619 Carr St., St. Louis, Mo.
29. The Laws to Encourage Immigration, and to Regulate the Carrying of Passengers.

Gellwch ymddibynu mwy ar Adroddiadau y Llywodraeth na dim llyfrau ereill, oblegyd y maent wedi eu hysgrifenu gan swyddogion dysgedig a chyfrifol, a fu yn mesur ac yn archwilio y tiroedd, ac wedi eu cyhoeddi trwy awdurdod a than nawdd y Llywodraeth. Ac y mae adroddiadau a llyfrau swyddogol y *talaethau* yn cynnwys gwireddau sicr. Ond y ffordd oreu yw i chwi fynu gweled ac archwilio y tir cyn ei brynu, os nad ellwch ymddiried yn neb arall. Gellwch hefyd ymddiried yn nghywirdeb yr hyn a gyhoeddodd cwmpeini cyfrifol y reilffyrdd, a'r personau parchus canlynol, am y tiroedd sydd ganddynt ar werth yn y gwahanol dalaethau.

### TIROEDD LLYWODRAETH DALAETHOL WISCONSIN.

Mae gan lywodraeth y dalaeth ardderchog hon yn agos i *ddwy filiwn* o erwau o dir da eto ar werth am brisiau isel. Gwel yr *Hysbysiad* am danynt ar ddiwedd y llyfr hwn. Mae swyddfa y *Land Commissioner* yn awr yn Milwaukee, Wis.

Mae llawer o diroedd rhad a ffrwythlon yn meddiant llywodraethau talaethol Minnesota, Iowa, Missouri, Kansas, a Nebraska. Gwel eu hanes yn y llyfrau a nodais, ac yn Dosran B o'r llyfr hwn.

### TIROEDD CWMPEINI Y REILFFYRDD.

Mae gan gwmpeini anrhydeddus y reilffyrdd canlynol filiynau o erwau o diroedd rhagorol ar werth eto am brisiau rhesymol, a rhoddant amser maith i'r prynwyr i dalu yn raddol am danynt. Mae eu tiroedd yn gorwedd oddeutu eu reilffyrdd, yn y talaethau a'r siredd y rhedant drwyddynt, yn Illinois, Wisconsin, Minnesota, Iowa, Missouri, Kansas, Nebraska, a'r Tiriogaethau.

1. *Illinois Central Rairoad.*—Rhed hon o Chicago ar hyd talaeth Illinois hyd Cairo. Pellder, 365. Mae cangen o honi yn rhedeg o Odin, heibio i Freeport, i Dunleith, yn ngogledd-orllewin Illinois; ac un arall o Dubuque, heibio i Cedar Falls, a Fort Dodge, i Sioux City, ar draws talaeth Iowa. Cyfeirier at John B. Colhoun, *Land Commissioner*, Illinois Central R. R., 58 Michigan Avenue, Chicago, Illinois; neu i'r Swyddfa Dirol yn Cedar Rapids, Iowa.

2. *Union Pacific Railroad.* 3. *Central Pacific Railroad.*—Dyma y ddwy reilffordd ardderchog sydd newydd gael eu gorphen, o Omaha yn Nebraska ar draws y prairies, dros y Mynyddau Creigiog, heibio i Salt Lake i San Francisco, California. Mae o Omaha i orsaf Ogden 1032 o filldirau; ac o Ogden (ar y Central Pacific R. R.) i San Francisco, 881 milldir. Cyfanrif, 1913! Cyfeirier at F. Knowland, Esq., General Eastern Agent, 303 Broadway, New York; neu T. E. Sickles, Esq., Omaha, Nebraska; neu A. N. Towne, Esq., General Supt., 415 California St., San Francisco, California.

4. *Kansas Pacific Railroad.*—Rheda hon o Kansas City, a Wyandotte, heibio i Lawrence, Topeka, Manhattan, Junction City, Salina, Ellsworth, &c., ar draws talaeth Kansas, drwy y tiroedd mwyaf ffrwythlon, i ddinas Denver, yn nhalaeth Colorado. Pellder, 638. Mae reilffyrdd ereill yn rhedeg o honi i'r gogledd a'r de, ac yn gyfleus i'r sefydliadau Cymreig yn Kansas. Cyfeirier at Jno. P. Devereux, Esq., Land Commissioner, Lawrence, Kansas; neu at Dr. W. E. Webb, President of "The National Land & Immigration Company of Kansas," Topeka, Kansas.

5. *The Northern Pacific Railroad.*—Mae hon yn cychwyn o Duluth, yn mhen Llyn Superior, yn nhalaeth Minnesota; ac o St. Paul, a Minneapolis, ar lan afon Mississippi, ac unant yn nghanol Minnesota; ac o'r fan hono gweithir y reilffordd yn mlaen trwy ganol Dakota a Montana; ac mewn lle cyfleus yn y lle olaf, ymwahana yn ddwy gangen. Bydd un gangen o honi yn rhedeg trwy ganol Washington, at y brif orsaf ar y *Puget Sound;* a'r gangen arall yn dilyn dyffryn y Columbia, trwy ddeheudir Washington, a gogledd-dir Oregon, i Portland; a gwneir llinell gyda glan y Tawelfor i uno y ddwy gangen orllewinol. A bwriadant wneyd cangen arall o honi, i redeg o orllewin Minnesota trwy ddyffryn y Red River, hyd Pembina, ar derfynau y "British America." Dechreuwyd gweithio hon Gorphenaf, 1870; ond erbyn heddyw, Hydref 18, 1871, maent wedi gorphen dros 600 milldir o honi. Mae miloedd yn gweithio arni yn barhaus. Pan orphenir hi, bydd yn 1775 o filldirau o hyd, o ben Llyn Superior hyd lan y Môr Tawelog; a bydd gan y cwmpeini anrhydeddus dros Haner Can' Miliwn (50,000,000) o erwau o diroedd rhagorol ar werth am brisiau isel, a rhoddant ddigon o amser i dalu am danynt. Cyfeirier at Samuel Wilkeson, Esq., Secretary of the Northern Pacific Railroad Company, 120 Broadway, New York. Mae y *charter* a roddodd y Llywodraeth i'r cwmpeini yn eu hawdurdodi i godi arian ar eu tiroedd, ac y maent yn awr yn rhoddi *bonds* am $100, $500, a $1000, ac yn sicrhau $7 a 30 cent o lôg blyneddol, mewn *aur*, am bob $100 a fenthycant; a thalant y *principal* hefyd yn aur pur yn mhen 30 mlynedd. Talant y llog bob chwe' mis, yn misoedd Ionawr a Gorphenaf, bob blwyddyn. Nis gall neb gael gwell llôg, na mwy o sicrwydd am eu harian, yn un man arall. Cyfeirier at Jay Cooke & Co., Fiscal Agents, Northern Pacific Railroad Company, Philadelphia, Pa. (Read the Pamphlet, "The Northern Pacific Railroad; its Route, Resources, &c., issued by Jay Cooke & Co.; and the *address* of the Hon. Wm. D. Kelley, Philadelphia, on "The Great Thoroughfare," or The Northern Pacific Railroad.)

6. *The Southern Pacific Railroad.*—Sonir am wneyd, a thebygol yw y gwneir yn fuan, brif reilffordd arall, yn fwy *deheuol* na'r tair a nodwyd uchod, o'r dwyrain i lan y Tawelfor; ac y mae angen am dani. Tebygol yw y bydd cangenau o honi yn

dechreu yn St. Louis, Mo., ac yn Cairo, Illinois, ac yn Memphis, Tennessee, ac yn New Orleans, Louisiana, ac yn Denver, Colorado, ac yn Lawrence, Kansas—(mae rhai o honynt wedi cael eu dechreu eisoes), ac yr ymunant yn Texas, ac wedi hyny y rhedir y ffordd yn mlaen trwy New Mexico, Arizona, a Chalifornia, i lan y Tawelfor—San Francisco, neu rywle cyfleus arall. Pan wneir hyny, agorir gwledydd eangfaith o flaen ymfudwyr anturiaethus, a daw miliynau o diroedd ffrwythlon i'r farchnad.

7. *Burlington & Missouri River Railroad.*—Mae hon yn rhedeg drwy unarddeg o siroedd ffrwythlon yn neheudir Iowa, o lan afon y Mississippi hyd lan afon Missouri; ac o Plattsmouth, trwy Lincoln, hyd Fort Kearney, yn Nebraska, lle y cysyllta a'r Union Pacific R. R. Mae gan y cwmpeini hwn filoedd o erwau o diroedd dymunol ar werth, am brisiau isel, yn Iowa a Nebraska. George S. Harris, Esq., Land Commissioner, Burlington, Iowa.

8. *Hannibal & St. Joseph R. R.*—Mae y reilffordd hon yn rhedeg o Hannibal a Quincy, trwy Palmyra, heibio i Macon City, Bevier, New Cambria, Brookfield, Chillicothe, Utica (yn agos i Dawn), i Cameron Junction (171 milldir), ac oddiyno i St. Joseph (206 m.), ac i Kansas City. Mae gan y cwmpeini hwn lawer o diroedd da eto yn ngogledd Missouri ar werth. Edward Wilder, Esq., Land Commissioner, Hannibal, Mo.

9. *Central Branch Union Pacific R. R.*—Mae hon wedi ei gorphen o Atchison i Waterville, yn ngogledd Kansas. (Nid yw Waterville yn mhell o Powys); a thebygol yw y gweithir hi yn mlaen gyda glan y Little Blue River, i Fort Kearney, Nebraska; ac hefyd trwy Riley Co., Kansas, i Manhattan, neu Fort Riley. Mae ganddynt filoedd o erwau o diroedd da ar werth yn Kansas (a dichon y bydd ganddynt yn fuan yn Nebraska.) W. F. Downs, Esq., Land Commissioner, Atchison, Kansas.

10. *Kansas City, Ottawa, Burlington & Santa Fe R. R.*—Mae hon wedi ei gorphen o Kansas City i Ottawa, a gweithir hi yn mlaen yn gyflym heibio trefydd Burlington, a Bangor, yn Coffey Co., i Eureka, Kansas. Bydd ganddynt lawer o diroedd da ar werth.

11. *Missouri River, Fort Scott, and Gulf R. R.*—Mae hon yn rhedeg o Kansas City i Fort Scott (98 m.), ac i Baxter Springs, 159 milldir, trwy lawer o diroedd rhagorol, a llawer o fwn glo danynt. James F. Joy, Esq., Managing Director, Detroit. Michigan; B. S Henning, Esq., Superintendent, Kansas City, Missouri.

12. *Missouri, Kansas and Texas Railroad.*—Mae hon yn rhedeg o Junction City, Kansas, trwy ddyffryn nodedig a ffrwythlon y Neosho, heibio i Council Grove, Americus, Emporia, Neosho Rapids, Ottumwa, Burlington (10 milldir o Fangor,

Coffey Co.), Neosho Falls, i Humboldt (119 m.), ac oddiyno i Chetopa, 178 m. Ac y mae cangen o honi yn rhedeg o Sedalia, Mo., i Clinton, 40 milldir. Dyma y ffordd rwyddaf i ddyfod o St. Louis, Mo., i Burlington, a Bangor, Coffey Co., ac i Emporia, Lyon Co., Kansas. Mae ganddynt ganoedd o filoedd o erwau o'r tir mwyaf ffrwythlon ar werth yn y Neosho Valley, ac mewn lleoedd ereill. Bacheller & Jones, Emporia, Kansas; Isaac T. Goodnow, Esq., Land Commissioner, Neosho Falls, Kansas. Ysgrifener at y Cymro enwog, Wm. B. Jones (Ap P. A. Mon), Emporia, Kansas. Mae y sefydliad Cymreig yn Bangor, Coffey Co., yn cynyddu yn gyflym, ac yn debyg o ddyfod yn lle enwog; ac y mae miloedd o erwau o diroedd rhagorol oddeutu yn siroedd Coffey a Greenwood, a Woodson. Rhaid prysuro, neu byddant wedi eu gwerthu yn llwyr yn fuan.

13. *Atlantic and South Pacific Railway.*—Mae hon yn myned o St. Louis, ar draws talaeth Missouri, trwy Rolla, Lebanon, a Springfield, i Peirce City, ger yr Indian Territory (291 m.), a bwriedir ei gweithio yn mlaen i Texas, a glan y Werydd. Mae gan hon lawer o diroedd ar werth yn neheudir a gorllewin Missouri; a bydd ganddi ychwaneg yn fuan yn Arkansas, Texas, a'r Indian Territory. Edwin F. Perkins, Esq., Superintendent, General Offices, St. Louis, Mo.

14. *Leavenworth, Lawrence & Galveston R. R.*—Mae hon wedi ei gweithio o Lawrence, trwy Baldwin City, Ottawa, i Garnett (Kansas), 52 milldir, a bwriedir ei gweithio yn mlaen heibio i Arvonia, yn Osage Co., a thrwy ddeheudir Kansas, a'r Indian Territory, a Texas, hyd Galveston, ar lan y Werydd. Os gwneir hyny, bydd yn un bwysig iawn, a bydd gan y cwmpeini filoedd o erwau o diroedd rhagorol ar werth. Clywais fod y Cymro enwog, J. Mather Jones, Ysw., wedi cael ei ethol yn un o'r *Directors*. M. R. Baldwin, Esq., Genl. Supt., Lawrence, Kansas.

15. *St. Paul & Sioux City R. R.*—Mae hon yn rhedeg o St. Paul, heibio i Le Sueur (Coed Mawr), Ottawa, St. Peter, Mankato, South Bend, Lake Crystal, i Madelia (Minnesota), a gweithir hi yn mlaen oddiyno heibio i Clay County (Iowa), i Sioux City. Mae yn myned trwy lawer o diroedd y Cymry yn Blue Earth Co., Minnesota. Mae gan hon lawer o diroedd da ar werth yn neheudir Minnesota, a gogledd-orllewin Iowa. J. C. Boyden, Gen. F. & T. Agt., St. Paul, Minn.

16. *Iowa Railroad Land Company.*—Credwyf fod gan y cwmpeini hwn lawer o diroedd rhagorol yn ngogledd a gorllewin talaeth Iowa, oddeutu y "Chicago & North Western R. R.," sydd yn rhedeg o Clinton, heibio i Cedar Rapids, a Boone, i Council Bluffs. Mae eu prif swyddfäau tirol yn Cedar Rapids, Iowa, ac yn No. 1 La Salle St., Chicago, Ill.

17. *Detroit & Milwaukee R. R.*—Mae hon yn rhedeg o Detroit trwy ganol talaeth Michigan hyd y Grand Haven, ar lan Llyn Michigan (189 m.), ac oddiyno dros y llyn mewn agerddfadau i Milwaukee, Wis (85 m.) Mae gan y cwmpeini lawer o diroedd ar werth oddeutu eu reilffordd. James H. Muir, Esq., Secretary, Detroit, Michigan.

NODIAD.—Diau fod llawer o reilffyrdd ereill yn meddu llawer o diroedd, nad wyf fi yn hysbys o honynt, ac y bydd llawer o reilffyrdd newyddion yn cael eu gwneyd yn barhaus yn y gorllewin a'r de, ac yn dyfod i feddiant o lawer o diroedd goreu y Llywodraeth. Ymdreched y Cymry i ymfudo yn gymdeithasau cryfion gyda'u gilydd yn y dyfodol, a meddianu tiroedd y Llywodraeth *o flaen* cwmpeini y reilffyrdd newyddion a wneir yma eto; a bydd hyny yn elw mawr iddynt hwy ac i'w plant. Nis gall neb eu cymeryd oddiarnynt wedi iddynt dalu am danynt, neu sefydlu arnynt a'u diwyllio.

## TIROEDD CYMDEITHASAU, A PHERSONAU UNIGOL.

Mae cenedloedd ereill, yn enwedig yr Americaniaid, a'r Ellmyniaid, a'r Gwyddelod, a'r Ffrancod, wedi ffurfio yn gymdeithasau ymfudol, wedi casglu trysorfäau cryfion, ac wedi prynu *darnau ehelaeth* o diroedd y Llywodraeth, ac ereill, a sefydlu arnynt; ac y mae ganddynt lawer o diroedd felly i'w gwerthu i'w gilydd; ac ar yr un pryd meddianant lawer o diroedd *rhad* dan yr "*homestead laws.*" Gwynfyd na byddai y *Cymry* yn fwy unol yn ymroddi i ddilyn eu cynlluniau rhagorol. Mae ar ein cenedl eisiau PUMP *o bethau neillduol* cyn y gwelir eu hymfudiad hwy yn llwyddianus:—1. Cael amrai o *arweinwyr* gonest, cyfoethog, dysgedig, a phenderfynol y byddo yr holl genedl yn gallu ymddiried ynddynt. 2. Cael *gwlad* iachus a ffrwythlon, yn gyfleus i drafnidaeth, ac yn ddigon ehelaeth i gynnwys miloedd o deuluoedd Cymreig. 3. Cael *llawer* o deuluoedd parchus a chyfoethog i gychwyn a sefydlu gyda'u gilydd ar unwaith. 4. Cael *trysorfa* o gan' mil o ddoleri ($100,000) neu ychwaneg, at *gynorthwyo* gweithwyr tlodion Cymru i ymfudo atynt i'r wlad hon. 5. Cael *nawdd* a *chefnogaeth* y Llywodraeth wladol, ac yn benaf amddiffyniad a bendith yr Arglwydd.

Nid wyf yn gwybod fod ychwaneg na *dwy* gymdeithas ymfudol *Gymreig* wedi eu sefydlu eto, er lleshad y Cymry yn gyffredinol; sef yn 1. Cwmni Ym-

fudol a Masnachol y Wladfa Gymreig—*Patagonia;* yr hon a sefydlwyd yn Mhrydain Fawr, yn 1862, gan y Parch. Michael Jones, M. A., ac ereill; ac yn 2. Cymdeithas Dirol ac Ymfudol Gymreig America—*Powys*, Kansas; yr hon a sefydlwyd yn y wlad hon yn nechreu y flwyddyn 1870, gan y Parch. Rhys Gwesyn Jones, ac ereill.* Mae y ddwy gymdeithas uchod wedi gweithio yn egniol er llesoli y Cymry; mae gan bob un o honynt filoedd o erwau o diroedd ffrwythlon i'w cael am brisiau isel; ac y maent yn deilwng o gefnogaeth y genedl yn gyffredinol. (Gwel yr *Hysbysiadau* ar ddiwedd y llyfr hwn.)

Mae *dau Gymro enwog* arall wedi gweithio yn egniol er y flwyddyn 1864, dros ymfudiad trefnus eu cydgenedl, er ffurfio sefydliadau Cymreig cryfion yn yr Unol Dalaethâu. Gwnaethant lawer o les yn New Cambria, Missouri; ac y maent yn gwneyd llawer o les i'r Cymry eto yn Kansas. Y maent *hwy* wedi gweithredu, ac yn gweithredu eto, mewn cysylltiad â Chwmpeini anrhydeddus y reilffyrdd, neu ryw foneddigion cyfoethog a chyfrifol ereill; ac yr wyf yn credu fod y ddau yn ddynion parchus, cenedlgarol, a gonest, a'u bod yn deall eu gwaith yn drwyadl, ac yn gallu ei weithio yn llwyddianus. Yr wyf yn cyfeirio at y ddau foneddwr parchus, John Mather Jones, Ysw., a Wm. B. Jones, Ysw., (Ap P. A. Mon,) y rhai a ffurfiasant y y ddau sefydliad Cymreig llwyddianus canlynol:—

1. ARVONIA, Osage Co., Kansas.—Mae hwn yn sefydliad cryf a blodeuog eisoes, mewn gwlad eang, iachus, a ffrwythlon; a bydd ei gynydd yn y dyfodol yn gyflym a dirfawr. Gwel ei hanes yn Dosran B, ac yn yr hysbysiadau. Cyfeirier at J. Mather Jones, Ysw., Arvonia, Osage Co., Kansas†.

* BALA, *Powys*, *Riley Co.*, *Kansas.*—Clywais fod Cwmni wedi ei ffurfio er gwneyd reilffordd o Leavenworth, trwy sefydliad Cymreig Powys, a thref y Bala, o ddwyrain i orllewin Kansas, i Denver, Colorado. Gwna hono les dirfawr i'r sefydliad.

† NODIAD.—Mae y fath *gynydd cyflym* wedi cymeryd lle, ac yn cymeryd lle yn barhaus yn Kansas, a thalaethau ereill y Gorllewin, er pan ddechreuais ysgrifenu y Llyfr hwn; ac y mae y wlad mor eang, fel yr oedd yn annichon i mi ysgrifenu eu hanes yn gyflawn a difai. Ar ol ysgrifenu ac argraffu Hanes Sefydliad Cymreig ardderchog ARVONIA, Osage Co., Kansas, hysbyswyd fi yn gar-

2. BANGOR, Coffey Co., Kansas.—Dyma "Sefydliad Newydd Cymreig," yn Nyffryn Mawr Neosho, Kansas. Mae yn gorwedd mewn gwlad nodedig iachus a ffrwythlon; ac yn debyg i ddyfod yn un o'r sefydliadau Cymreig mwyaf llwyddianus yn neheudir Kansas. Gwel ei hanes yn Dosran B, ac yn yr hysbysiadau. Cyfeirier at William B. Jones, Ysw., (Ap P. A. Mon,) yn ei swyddfa dirol yn Emporia, Lyon Co., Kansas.

Diau y bydd y ddau Gymro parchus uchod, gyda llawer ereill, yn ffurfio sefydliadau Cymreig *ereill*, yn y dyfodol, mewn manau iachus a ffrwythlon ereill yn Kansas, a'r talaethau a'r tiriogaethau ereill yn y gorllewin pell, a'r de. Llwyddiant iddynt, mae angen am hyny; ac y mae digon o le yn y wlad eang hon.

### TIROEDD Y RHAGDREMWYR (SPECULATORS).

Mae yn hysbys i lawer o Gymry, fod yn y wlad hon ganoedd o ragdremwyr (*speculators*) mewn tiroedd.

edig gan gyfaill ffyddlon, mai yn Osage Co. y saif Carbondale; mai Arvonia Station, yr hon a saif ar y railroad *rhwng* Reading ac Osage City, yw yr orsaf *nesaf* i dref Arvonia, ac oddiyno y mae y *stage* yn rhedeg yn ddyddiol. Fod gan y T. C. addoldy bychan hardd yn Reading; ond fod y rhan fwyaf o'r trigolion yn Annibynwyr. Mai o Kansas City, trwy *Ottawa*, yn Franklin Co., (ac nid trwy *Ottumwa* yn Coffey Co.,) y bydd y reilffordd newydd sydd yn cael ei gwneyd, yn rhedeg trwy Burlington, a BANGOR, Coffey Co., trwy Eureka i Santa Fe. Mai yr "Holden Railroad" yw enw yr hon a ddisgwylir trwy ARVONIA; rhed o orsaf Holden, ar y "Missouri Pacific R. R.," trwy Paola, yn Miami Co., ac Ottawa, yn Franklin Co., ac Arvcnia, Osage Co., a chysyllta a'r "Atchison, Topeka, & Santa Fe R. R. yn Emporia, Lyon Co. Mae hon wedi ei gorphen eisoes i Paola; a gobeithir y bydd cars yn rhedeg arni i Arvonia ac Emporia y flwyddyn nesaf (1872), gydag un *arall* yn rhedeg o Osage City, ar y Salt Creek, i Arvonia, Ottumwa, (a manau ereill yn Coffey Co., dichon Burlington a Bangor), ac oddiyno i'r De. Bod tir y "Diminished Reserve," yn Osage Co., wedi cael ei brynu yn llwyr mewn byr amser, a llawer o dai a thyddynau braf arno yn awr! Nad oedd yn Osage Co., yn nechreu 1869, ond 2,200 o drigolion, ond bod yno yn niwedd 1871 tua 8,500! a bod cynydd cyflym cyffelyb wedi bod mewn llawer o siroedd eraill yn Kansas. Fod Osage City, ar y Salt Creek, yn Osage Co., yn lle cynyddol iawn, a'r dref yn debyg o ddyfod yn lle pwysig iawn—bod y tir eisoes wedi dyblu a threblu yn ei werth oddeutu yno: a bod tref arall o'r enw Lyndon, yr hon a saif o saith i wyth milldir i'r dwyrain o Osage City, ar y Salt Creek, (sef y tir y bum yn ei archwilio yn Awst, 1869, pan oedd heb ei boblogi am filldirau), yn awr yn dref hardd, yn cynnwys tua 200 o drigfanau, dwy hotel fawr, ac 20 o stores, ac ysgoldy ceryg hardd. Cynghorwyd ni gan J. Mather Jones, Ysw., i brynu y tir gwerthfawr hwnw, am bris isel iawn, ac i adeiladu tref arno; ond ni bu Cymry Mahanoy City, Pa., yn ddigon call, doeth, ac unol, ac anturiaethus. Mae y dref hon o fewn ychydig filldirau i derfynau y "Diminished Reserve," yr hwn sydd yn awr yn dra phoblog; a saif hefyd bron ar ganol Osage Co., ac y mae ei masnach yn ehelaeth eisoes. Mae tref ARVONIA wedi cynyddu yn gyflym; mae yno yn awr lawer o dai a stores da—dwy eglwys Gymreig—un Gynulleidfaol (heb un gweinidog yn niwedd 1871), ac un Henadurol, neu T. C., ond nid oes gan y naill na'r llall addoldy eto; ac y mae yno eglwys Gynulleidfaol Seisonig hefyd, a dau ysgoldy ceryg hardd yn y sefydliad, gwerth $3,000 bob un; ac y maent yn adeiladu un arall (*graded school*), gwerth tua $5,000, yn y dref.

Yn gyffredin, dynion cyfoethog a llygadgraff ydynt. Prynodd llawer o honynt filoedd o erwau o diroedd gan y Llywodraeth, am brisiau *isel iawn* CYN gwneyd y *Pre-emption* a'r *Homestead Laws;* ac ereill wedi hyny yn amser arwerthiad cyhoeddus, a thrwy "*Private Entry,*" ac y maent yn parhau i wneyd hyny. Priodol yw yr enw a roddir arnynt, *Speculators,* am eu bod yn archwilio y tiroedd, yn rhagdremu ar eu mantais yn y dyfodol, trwy brynu y tiroedd yn rhad, a'u gwerthu i ymfudwyr wedi hyny am y prisiau uwchaf a allant gael am danynt. Mae arian yn gwneyd arian, ac y mae gan rai dynion allu rhagolygol mawr iawn. Maent wedi dewis darnau mawrion o'r tiroedd goreu, (coedydd, prairies, a doldiroedd,) gyda glanau yr afonydd; ac y mae rhai o honynt wedi bod yn dra llwyddianus, ond nid pob un; cafodd rhai o honynt golledion trymion. Gellir prynu tiroedd da gan y Rhagdremwyr braidd yn mhob talaeth, yn enwedig yn y gorllewin a'r de, am o $5 i $10 yr erw, a llai na hyny. Mae tiroedd i'w cael ganddynt *hwy,* lle na byddo tiroedd ar werth gan y Llywodraeth a'r reilffyrdd. Holer am eu Swyddfäau Tirol yn y prif ddinasoedd, New York, Philadelphia, Washington, Boston, Richmond, Detroit, Columbus, Cleveland, Cincinnati, Chicago, Milwaukee, St. Paul, Iowa City, St. Louis, Lincoln (Nebraska), Lawrence, Topeka (Kansas), &c.

### TIROEDD McMANUS & Co., READING, PA.

Mae y boneddwyr uchod yn bobl gyfoethog a chyfrifol, ac y maent yn feddianol ar filoedd o erwau o dir gwerthfawr, yn siroedd Osage a Lyon, a manau ereill yn Kansas. Ar eu tiroedd hwy y mae y sefydliad Cymreig a elwir *Reading;* a hwynt-hwy yw perchenogion yr holl diroedd ffrwythlon oddiyno hyd Emporia, Salt Creek; ac y mae ganddynt lawer o diroedd i'r dwyrain o'r "Diminished Reserve." Mae ganddynt swyddog (*agent*) yn Burlingame, Osage Co. Cyfeirier at Messrs. McManus & Co., Reading, Pa.

## TIROEDD TALAETH VIRGINIA.
### (*Virginia Lands.*)

Dyma un o'r talaethau hynaf yn yr Undeb. Bu am flyneddau lawer yn cefnogi caethwasiaeth; a gwnaeth ei goreu yn erbyn yr Undeb yn y gwrthryfel diweddaf. Ond rhyddhawyd ei chaethion oll, darfyddodd y gwrthryfel, ac adferwyd heddwch. Mae ei dinaswyr yn awr yn bobl heddychol a theyrngarol. Er nad oes ynddi yn awr diroeddd i'w cael gan y Llywodraeth, yn rhad ac am ddim, y mae ynddi filiynau o erwau o wahanol diroedd, i'w cael am o $3 i $10 yr erw, gan feddianwyr yr hen etifeddiaethau eang a fu gynt yn cael eu llafurio gan y caethion. Gellir prynu tyddynau rhagorol, wedi eu diwyllio, ac adeiladau da arnynt, mewn llawer o'i siroedd, sef Alexandria, Fairfax, Loudon, Prince William, Fauquier, Culpepper, Stafford, Warren, King George, Westmoreland, King William, Page, Madison, Accomac, Franklin, Pendleton, Prince Georges, Charles, &c., am o $20 i $30 yr erw, mewn lleoedd cyfleus i'r reilffyrdd, ac i fasnach a'r prif-ddinasoedd, sef Richmond, Washington, Baltimore, Philadelphia, a New York; a gellir prynu tiroedd coediog a mwnol, ar ei bryniau, am o $1 i $5 yr erw. Gwlad ardderchog ydyw; y mae ynddi gyflawnder o'r coedydd goreu, ac o bob math o'r mwnau gwerthfawrocaf; ac y mae ei hinsawdd yn ddymunol, a'i dyfroedd yn iachus. Credwyf y bydd miloedd o *Gymry* yn sicr o ymfudo a sefydlu ynddi yn y dyfodol. Gwel ei hanes yn Dosran A. Drwy garedigrwydd y Llywodraethwr Walker, a Wm. H. Richardson, Esq., Commissioner of the State Board of Immigration, Richmond, Va., a Meistri Brawner & Co., Real Estate Brokers, Alexandria, Va., cefais lawer iawn o wybodaeth am diroedd gwerthfawr Virginia; ac yr wyf yn gwbl argyhoeddedig fod yno leoedd rhagorol i dyddynwyr, a mwnwyr, a chwarelwyr, a chrefftwyr Cymreig, a llawer iawn o fanteison, ar hyn o bryd, i gael cartrefi dymunol. Mae y dyfroedd yn llawer mwy iachus, yr hinsawdd yn llawer mwy tymherus, y cyfleusderau masnachol yn llawer mwy lluosog, nag a geir mewn un man yn y Gorllewin Pell.

Ysgrifenwch at y boneddigion a nodais. (Read Brawner & Co's Catalogue of Real Estate in Virginia, and the Pamphlet published by General G. Tochman, in 1869. The Act to Promote and Encourage Immigration into the State of Virginia, passed March 3, 1866: and the Address of the State Board of Immigration to the People of Great Britain.) Ceir pob hysbysrwydd pellach am diroedd Virginia, gan *William H. Richardson, Esq., Commissioner,* State Board of Immigration, Richmond, Virginia.

Mae tiroedd cyffelyb i'w cael yn *West* Virginia, ac yn Kentucky, a Tennessee. Ysgrifenwch at David Richards, Esq., Knoxville, East Tennessee.

Ac y mae llawer o diroedd coediog, amaethyddol, a mwnol, i'w cael yn rhad iawn yn North Carolina, a manau ereill yn y De. Ysgrifenwch at E. M. Davis, Esq., 333 Walnut Street, Philadelphia, Pa.

# PENNOD VIII.

## Y REILFFYRDD GOREU I YMFUDWYR I DEITHIO ARNYNT I'R GORLLEWIN A'R DE.

(*The best Railroad Routes for Immigrants to the West, South, &c.*)

Mae yn agos i dri chant a haner (350) o wahanol reilffyrdd, bychain a mawrion, yn yr Unol Dalaethau Amerigol, yn gyfleus i hyrwyddo teithwyr a nwyddau i bob cyfeiriad. Teithiant, mewn cyfartaledd, o 20 i 25 milldir yr awr; cadwant eu hamserau yn fanwl; ceir lle cyfleus ynddynt i eistedd, a gellir cael gwelyau mewn rhai o honynt i orwedd a chysgu y nos; arosant ychydig mewn manau cyfleus i gael ymborth; cedwir dyfroedd i'w hyfed ynddynt yn yr haf, a thânau yn y gauaf. Nid yn aml y mae damweiniau niweidiol arnynt (ond digwyddant weithiau). Mae eu *conductors* yn ddynion parchus a chyfrifol. Mae y taliadau am gludiad (*fares*) ynddynt yn wahanol; codant o 2½ i 4 cent y filldir, a mwy na hyny ar rai o honynt tu draw i afon Missouri. Mae ganddynt swyddfäau (*depots*) yn mhob gorsaf (*station*), lle y gellwch gael tickets i deithio arnynt i'r manau a ddewisoch, ond talu am danynt i'r ticket masters. Gofalwch am wneyd hyny yn *brydlon*, cyn y daw y *train;* a chymerwch eich eisteddfa yn dawel yn un o'r cerbydau, gan ofalu am eich *ticket* i'w ddangos i'r *conductor* pan alwo am dano; a gofalwch hefyd am beidio rhuthro i mewn nac allan o'r *cars*, na sefyll tu allan ar y *platform* pan fyddo y *train* yn rhedeg.

Y ffordd oreu o lawer i ymfudwyr newyddion o'r Hen Wlad, a fyddant am fyned drwodd yn uniongyrch o ddinas New York i Wisconsin, neu Minnesota, neu

Illinois, neu Michigan, neu Iowa, neu Missouri, neu Kansas, neu Nebraska, neu ryw fan arall yn y Gorllewin Pell, yw ymddiried i'r dyn mwyaf gwybodus a gonest yn eu plith eu hunain, neu i ryw swyddog ymfudol cyfrifol arall, megys Cadwaladr Richards, Ysw., i fyned i swyddfa un o'r tair prif reilffyrdd (a nodaf isod) yn New York, a phrynu tocynau i'w cludo dros yr holl ffordd i *ben eu taith*, neu i'r man nesaf ato. Gellir cael *through-tickets* felly yn llawer rhatach, a byddant yn llawer mwy cyfleus i deithio, am y cewch felly *checkio* eich boxes (*luggage*) drwodd hefyd, a chewch *checks* am danynt. Cedwch y rhai hyny yn ofalus, oblegyd ni roddir eich *boxes* i chwi ar ben eich taith gan y *luggage master* yn y swyddfa hono os na bydd y *checks* hyny genych, yn cyfateb i'r *checks* ereill a roddwyd ar y boxes yn New York. Mae traul y cludiad gyda y reilffyrdd yn y *first class*, o New York i Kansas City, Mo. (yn agos i Lawrence a Topeka, Kansas), tua $40. Ond cludir ymfudwyr (*immigrants*) yn y *third class* am oddeutu dwy ran o dair o hyny, sef $26.66. Ond pan fyddo *llawer* yn myned yno gyda'u gilydd, dichon y gellid cael cludiad pob un am oddeutu $20. Maent yn caniatau pedwar ugain pwys (80 lbs.) o *luggage* yn *rhad* i bob un o'r ymfudwyr; ond rhaid iddynt *dalu* am bob can' pwys (100 lbs.) a fyddo ganddynt dros ben hyny, a bydd hyny yn cael ei fwyhau yn ol y pellder y byddont yn teithio iddo; megys, os o New York i Kansas City y bydd y daith, bydd y pellder tua 1,350 o filldirau, a bydd y draul am gludo pob *can' pwys* o *luggage* tua $5.50; efelly y maent yn codi ychydig dros *haner cent* y filldir. Cludir plant dan 4 mlwydd oed am *ddim*, a'r plant a fyddo rhwng 4 ml. oed a 12 ml. oed am *haner* pris rhai mewn oed. (Gwel y tafleni ar ddiwedd y bennod hon.)

## Y PRIF REILFFYRDD O NEW YORK A PHILADELPHIA I'R GORLLEWIN, &C.

(*The Main Railroads from New York and Philadelphia to the West, &c.*

1. *Pennsylvania Central Railroad.*—Mae hon yn un o'r reilffyrdd goreu yn America. Rhed y *cars* arni yn gyson ddydd a nos, o Philadelphia i Harrisburgh (107 m.), Altoona (239), Cresson (Depot Ebensburgh) Johnstown (277), Irwin Station (334), a Pittsburgh, 355 milldir. Wrth deithio ar hon ceir golygfeydd ardderchog ar hen wlad y Dyffryn Mawr (Chester and Lancaster Counties), ac ar fynyddau uchel yr Alleghanies. Mae hon yn cysylltu â railroads ereill o New York trwy Easton, ac Allentown, a Reading yn Harrisburgh; ac â'r "Pittsburgh, Fort Wayne and Chicago R. R.," yr hon a rêd o Pittsburgh trwy Alliance, a Mansfield, a Crestline, a Lima, a Delphos (ger y sefydliadau Cymreig yn Gomer a Van Wert), Ohio; ac yn mlaen trwy Fort Wayne (yn Indiana) i Chicago, Illinois; ac oddiyno i'r holl leoedd ereill yn y Gorllewin Pell. Mae yn cysylltu hefyd yn Pittsburgh â'r "Pan Handle R. R.," yr hon a rêd oddiyno trwy ran o West Virginia, a thros afon Ohio wrth Steubenville, ac yn mlaen trwy Newark, a Granville, a Columbus, a Browntownship, i Cincinnati, Ohio; ac oddiyno gyda reilffyrdd ereill i St. Louis, Indianapolis, Quincy, Kansas City, ac Omaha, &c. Dyma y ffordd feraf, rwyddaf, a rhataf, trwy St. Louis i Kansas.

J. H. Miller, Esq., Genl. Agent, 526 Broadway, New York.
H. W. Gwinner, Esq., Genl. Passenger and Ticket Office Agent, Philadelphia.

2. *New York Central R. R. and Hudson River R. R.*—Mae yr "Hudson River R. R." yn rhedeg o 30th St. a'r 10th Avenue, New York, gyda glan afon Hudson (yr ochr ddwyreiniol), heibio i Sing Sing, Poughkeepsie, a Hudson, i Albany (143 m.), ac oddiyno i Troy (5 m.) Dyma y ffordd gyntaf i fyned o New York i Albany. Ond gellir myned yno yn rhatach gyda'r agerfadau. Ac y mae y "New York Central R. R." yn rhedeg, o Albany trwy Schenectady, Litte Falls, Herkimer,

Frankfort, Utica, Rome, Oneida, Canastota, Syracuse, Auburn, a Rochester, i Buffalo, ar lan Llyn Erie, ac yn cysylltu yno â reilffyrdd ereill sydd yn myned i Detroit (Michigan), a Chicago, Ill., a Cleveland, Toledo, Columbus, Cincinnati, Ohio. Dyma y reilffordd rwyddaf i fyned at yr holl sefydliadau Cymreig yn Oneida Co., N. Y., ac yn Michigan, Wisconsin, Minnesota, &c.

Cornelius Vanderbilt, President, New York.
H. A. Russell, Esq., Ticket Agent, 413 Broadway, NewYork.
C. H. Kendrick, General Ticket Agent, Albany, N. Y.

3. *New York and Erie Railroad.*—Mae hon hefyd yn un o'r prif reilffyrdd. Mae ei *depot* yn ngwaelod Chamber St., New York. Cychwyna o Jersey City, a rhed trwy Paterson, Great Bend, Binghamton, Waverly, Elmira, Corning, a Salamanca, i Dunkirk, ar lan Llyn Erie. Yn Salamanca cysyllta â'r "*Atlantic and Great Western R. R,*" yr hon sy'n rhedeg oddiyno trwy Corry, a Meadville, Oil City, Warren, a Leavittsburgh, Ohio, ac yn mlaen oddiyno i Ravana, a Cleveland, Talmadge, Akron, Mansfield, Marion, Urbana, Dayton, a Cincinnati, Ohio. (Mae hon yn gyfleus i'r holl sefydliadau yn y Western Reserve, Ohio). Yn Cincinnati cysyllta â'r reilffyrdd ereill sydd yn rhedeg oddiyno i St. Louis, ac i Kansas City, Mo,, a Lawrence, Topeka, a manau ereill yn Kansas, Nebraska, ac Iowa.

Jay Gould, Esq., President, New York.
L. D. Rucker, Esq., Genl. Superintendent, New York.
W. R. Barr, Esq., Genl. Passenger Agent, New York.

### REILFFYRDD EREILL CYSYLLTIEDIG A'R TAIR UCHOD.

(*Other Railroads connected with the three above.*)

1. *Pittsburgh, Fort Wayne & Chicago Railway.*—Reilffordd ardderchog yw hon. Mae yn rhedeg o'r Union Depot yn Pittsburgh, trwy ganol Ohio, heibio i Fort Wayne yn Indiana, i Chicago yn Illinois. Pellder, 468 milldir. J. N. McCullough, Esq., Pittsburgh, Pa., F. R. Myers, Genl. T. Agents, Chicago. (*See Central Penna. R. R.*)

2. *Pittsburgh, Cinn and St. Louis R R.* (*Pan Handle Route*).—Cychwyna yn yr Union Depot, Pa., a rhed oddiyno trwy Newark, Columbus, i Cincinnati, Ohio. Pellder o Pittsburgh i Columbus, Ohio, 193 milldir ; ac o Columbus i Cincinnati, 120 milldir. W. L. O'Brien, Esq., Genl. Pass. and Ticket Agent, Columbus, Ohio. (*See Central Pennsylvania Railway.*)

3. *Ohio and Mississippi Railroad.*—Mae hon yn rhedeg o Cincinnati trwy North Vernon, Mitchell, Vincennes, Odin, a Sandoval, i St. Louis, Mo. Pellder, 340 milldir. J. L. Griswold, Esq., Genl. Supt., St. Louis, Mo.

4. *Toledo, Wabash and Western Railroad.*—Ffordd ardderchog yw hon. Cysyllta Lake Erie â'r Mississippi. Rhed o Toledo trwy Fort Wayne (Indiana), ar draws Illinois, trwy Decatur, i St. Louis, Mo. Pellder, 432 milldir; ac i Quincy, Ill., 476 milldir. G. H. Barrows, Esq., Genl. Supt., Toledo, Ohio.

5. *Chicago, Burlington and Quincy Railway.*—Mae hon yn rhedeg o Chicago ar draws Illinois, trwy Mendota, Buda, Galva, Galesburgh (oddiyno i Burlington, Iowa), i Quincy, Ill., gan gysylltu yno â'r "*Hannibal and St. Joseph R. R.*," ac yn Burlington â'r "*Burlington and Missouri Railway.*" Mae hon yn un o'r ffyrdd goraf a rhwyddaf i fyned o Chicago i ogledd Missouri, a Kansas, ac i ddeheudir Iowa a Nebraska. R. Harris, Esq., Genl. Supt., Chicago, Illinois; ac N. D. Munson, Esq., Assistant Superintendent, Quincy, Ill.

6. *Chicago and Rock Island Railway.*—Mae hon yn rhedeg o Chicago ar draws Illinois i Rock Island, ar lan afon y Mississippi, 182 milldir; ac o Davenport, Iowa, heibio i Wilton, West Liberty, Iowa City, Homestead, Marengo, Des Moines City, ac oddiyno i Council Bluffs, Iowa. Pellder, 493 milldir. Dyma y ffordd fwyaf cyfleus i fyned i'r sefydliadau Cymreig yn Iowa.
Hugh Riddle, Esq., Genl. Supt., Chicago, Ill.
E. St. John, Esq., Genl. Ticket Agt., Chicago.
John F. Sandford, Esq., Agent, 257 Broadway, N. Y.

7. *Chicago and Alton Railroad.*—Mae hon yn rhedeg o Chicago, trwy Joliet, Wilmington, Chenoa, Bloomington, Springfield, Toledo and Wabash Junction, i St. Louis, Mo.—y fwyaf unionsyth, 280 milldir. J. C. McMullin, Esq., Genl. Supt.; A. Newman, Esq., Genl. Ticket Agent, Chicago, Illinois.

8. *Michigan Central R. R.*—Rhed hon o Detroit, trwy ran isaf Michigan, i Chicago. James F. Joy, President, Detroit. H. E. Sargent, Genl. Supt., Chicago, 285 m.

9. *Chicago and North Western R. R.*—Mae hon yn rhedeg o Chicago, trwy Janesville, Watertown, Minnesota Junction, Fon du Lac, Oshkosh, i Green Bay, Wisconsin—242 m. Mae cangen arall yn myned o Chicago trwy Racine i Milwaukee, Wis.—85 milldir. A changen arall yn myned o Chicago i Freeport, a Dubuque, Iowa, ac oddiyno ar draws talaeth Iowa, drwy Cedar Rapids, Fort Dodge, i Council Bluffs, ger Omaha. Pellder, 488 milldir. H. P. Stanwood, Genl. Ticket Agent, Chicago.

10. *Milwaukee and St. Paul Railway.*—Dyma un o brif reilffyrdd y Gorllewin. Gellir myned gyda hon i'r holl sefydliad-

au Cymreig yn Wisconsin, ac yn ngogledd Iowa, a thalaeth Minnesota. Pellderau o Milwaukee i La Crosse, 195 milldir; i Prairie du Chien, 194 milldir; i St. Paul, 406 milldir. S. S. Merrill, Esq., Genl. Manager. A. V. H. Carpenter, Genl. P. Agent, Milwaukee, Wis.

11. *Winona and St. Peter Railroad.*—Rhed o Winona, ar lan y Mississippi, drwy Owatonna Junction i Mankato, Minnesota. J. H. Stewart, Esq., Winona, Minnesota.

12. *Pacific Railroad of Missouri.*—Rhed hon o St. Louis, drwy Jefferson City, Sedalia, i Kansas City, Mo.—282 milldir. Gellir myned o Sedalia i Fort Scott, a Humboldt, a Burlington, Bangor, ac Emporia, &c., Kansas. Hudson E. Bridge, Esq., President. T. McKissock, Esq., Genl. Supt., St. Louis, Mo.

13. *North Missouri Railroad.*—Rhed hon o St. Louis, trwy Macon City, Mo., i Ottumwa, Iowa. James Charton, Esq., Genl. P. and T. Agent, St. Louis, Mo.

14. *Des Moines Valley Railway.*—Rhed hon o Keokuk, trwy Ottumwa, ac Oskaloosa, i Des Moines City, Iowa—162 m., ac oddiyno i Fort Dodge—211 m. J. Barker, Esq., Genl. Ticket Agent, Keokuk, Iowa.

15. *Kansas City, St. Joseph and Council Bluffs Railroad.*—Mae hon yn gyfleus i fyned o Kansas City, Mo., i Leavenworth, Atchison (Kansas). St. Joseph, Mo.—70 m.; Phelps, Brownsville, Nebraska City, a Council Bluffs, Iowa. H. L. Hopkins, Esq., St. Joseph, Mo. G. L. Bradbury, Genl. Agent, Council Bluffs, Iowa.

16. *Rensselaer and Saratoga Railroad.*—Gyda hon y gellir myned rwyddaf o Troy, a Schenectady, N. Y., i Middle Granville, N. Y., a Fairhaven, a Hydeville, Vermont. O. N. Crandell, Esq., Genl. T. Agent, Troy, N. Y.

17. *Utica and Black River Railroad.*—Mae hon yn rhedeg o Utica trwy Holland Patent, Trenton, a Remsen, i Turin, Lewis Co., N. Y., &c. John Thorn, Esq., President. W. E. Hopkins, Genl. T. Agent, Utica, N. Y.

18. *Central Railroad of New Jersey.*—(*Allentown Line.*)—Mae hon yn un o'r rhai pwysicaf yn New York, am ei bod yn cysylltu â'r "Lehigh Valley Railroad" yn Easton, Pa., ac â'r "Reading Railroad" yn Allentown, Pa., ac yn enwedig â'r "Pennsylvania Central Railroad" yn Harrisburgh, Pa., ac yn rhedeg yn mlaen oddiyno i'r Gorllewin Pell. Gyda hon y gellir myned rwyddaf i'r holl weithfeydd glo yn siroedd Schuylkill a Luzerne, a Carbon. H. P. Baldwin, Genl. P. Agent, 119 Liberty St., N. Y.

19. *Lehigh Valley Railroad.*—Ffordd ragorol yw hon. Cysyllta â'r "New Jersey Central" yn Easton; rhed trwy Allen-

town, Catasauqua, Slatington, Mauch Chunk, Ben Haven, ac i'r holl weithfeydd glo yn siroedd Carbon, Schuylkill, Northumberland, a Luzerne, Pa., a chysyllta â r "Erie Railroad" yn Waverly, N. Y. Mae y cwmni hwn yn cludo ymfudwyr i'r Gorllewin Pell ar yr amodau mwyaf rhesymol, gyda y "Lehigh Valley and Erie Railroad." Cysyllta â'r "Catawissa R. R." yn Quakake Junction. W. H. Sayre, Jr., Prest.'s Asst., &c., Bethlehem, Pa. N. Van Horn, Philadelphia. O. C. Lewis, Agent, Mahanoy City, Pa.

20. *Lehigh and Susquehanna R. R.*—Cysyllta a'r "Morris and Essex R. R." yn Easton, Pa., a rhed oddiyno trwy Mauch Chunk, Wilkesbarre, a Pittston, i Scranton, a Green Ridge (ger Providence), lle y cysyllta a'r "Delaware and Hudson R. R.," yr hon sydd yn myned i Carbondale, Pa., &c. E. W. Clark, Prest., Phila. Mendes Cohen, Controller, Phila.

21. *Catawissa Railroad.*—Rhed hon o Williamsport, trwy Danville, Rupert, Catawissa, Rington, Quakake ac East Mahanoy Junction, i Tamaqua, Pa., 99 milldir, ac o'r lleoedd olaf i New York a Philadelphia. M. P. Hutchison, Prest., Phila. Geo. Webb, Genl. Supt., Williamsport, Pa.

22. *Delaware, Lackawanna and Western Railway.*—Cysyllta â'r New Jersey R. R. yn Hampton Junction, a rhed oddiyno trwy y Water Gap i Scranton, Pa., ac oddiyno i Great Bend, a Binghamton, N. Y. Samuel Sloan, President, N. Y.; W. F. Halstead, Supt., Scranton, Pa.

23. *Northern Central Railroad, Pa.*—Mae hon yn rhedeg o Baltimore, Md., trwy Harrisburgh, a Sunbury, a Williamsport, i Elmira, N. Y.—256 milldir, ac oddiyno i Rochester, N. Y. J. D. Cameron, President; J. N. Du Barry, Vice-President, Harrisburgh, Pa.

24. *Lackawanna and Bloomsburgh R. R.*—Rhed hon o Scranton, trwy Pittston, Kingston, a Plymouth, a Danville, i Northumberland, Pa.—80 milldir; a gellir myned yn mlaen oddiyno i Tyrone, ac Altoona, a Pittsburgh, Pa. D. T. Bond, Supt., Kingston, Pa.

25. *Philadelpaia and Reading Railroad.*—Dyma yr unig reilffordd sydd yn rhedeg o Philadelphia trwy Reading i Pottsville, ac i'r holl weithfeydd glo yn Schuylkill Co.; ac y mae ei changenau yn ymledu o Reading i Allentown, ac i Harrisburgh, ac i Lancaster, Columbia, Mahanoy City, Ashland, Mount Carmel, a Shamokin, &c.; a bwriedir ei gweithio yn mlaen oddiyno i'r Gorllewin Pell. Hon yw y fwyaf cyfleus i'r holl sefydliadau Cymreig yn Schuylkill Co., Pa.

Franklin B. Gowen, President, Philadelphia, Pa.
W. H. Webb, Secretary, "
G. A. Nicolls, Superintendent, Reading, Pa.

26. *The All-Rail Great Southern Mail Route!*—Dyma y ffordd oreu, a rhataf, a rhwyddaf, i deithwyr, ac i ymfudwyr, i fyned i'r rhan fwyaf o dalaethau a dinasoedd y De, Mae meddianwyr a swyddogion y reilffyrdd a nodir isod wedi cytuno â'u gilydd i wneyd darpariadau trefnus i hyrwyddo teithwyr, ymfudwyr, a nwyddau masnachol, o brif ddinasoedd y Dwyrain, sef New York, Philadelphia, Boston, a Baltimore, a Washington, i brif ddinasoedd a threfydd y Deheudir, hyd New Orleans, ac yn mlaen i Texas. Gwnant Un Reilffordd Ddeheuol fawr o New York i New Orleans, am dros Bymtheg Cant o filldirau! Cynnwysa y reilffyrdd canlynol:—1. Orange, Alexandria, a Manassas. Rhed o Washington ac Alexandria, trwy Gordonville i Lynchburgh—178 milldir. 2. Virginia and Tennessee Railroad. Rhed o Lynchburgh i Bristol—204 milldir. 3. East Tennessee, Virginia and Georgia. Rhed o Bristol i Knoxville—130 m. (Cyfanrif o Washington i Knoxville, 512 m., ac o Knoxville i Chattanooga, 112 m.) Neu fel hyn:—

| | | | |
|---|---|---|---|
| O New York | i Washington | 228 | milldir. |
| " | i Lynchburgh | 406 | " |
| " | i Bristol | 610 | " |
| " | i Knoxville | 740 | " |
| " | i Chattanooga | 850 | " |
| " | i Nashville | 1,001 | " |
| " | i Corinth | 1,066 | " |
| " | i'r Grand Junction | 1,107 | " |
| " | i Memphis | 1,159 | " |
| " | i Dalton | 852 | " |
| " | i Atlanta | 952 | " |
| " | i Macon | 1,055 | " |
| " | i Montgomery | 1,127 | " |
| " | i Mobile | 1,332 | " |
| " | i New Orleans | 1,502 | " |

**PELLDERAU O NEW YORK I DDINASOEDD Y GORLLEWIN, GYDA Y NEW YORK CENTRAL R. R., &C.**

**(Distances from New York to the Cities of the Western States, by the New York Central Railroad, &c.)**

**O DDINAS NEW YORK I**

| | Milldir. | | Milldir. |
|---|---|---|---|
| Albany, N. Y | 143 | Cleveland, Ohio | 620 |
| Troy, N. Y | 148 | Columbus, Ohio | 761 |
| Schenectady, N. Y | 160 | Toledo, Ohio | 733 |
| Middle Granville, N. Y | 210 | CHICAGO, Illinois | 962 |
| Fairhaven, Vt. | 236 | CINCINNATI, O. | 881 |
| UTICA, N. Y | 238 | Clinton, Iowa | 1100 |
| Rome, N. Y | 252 | Dubuque, Iowa | 1150 |
| Syracuse, N. Y | 290 | Rock Island, Ill | 1144 |
| Rochester, N. Y | 371 | Davenport, Iowa | 1145 |
| Buffalo, N. Y | 440 | Iowa City, Iowa | 1199 |
| Suspension Bridge, N. Y | 447 | Marengo, Iowa | 1229 |
| Niagara Falls | 449 | Des Moines City, Iowa | 1319 |
| Detroit, Michigan | 678 | Council Bluffs, Iowa | 1452 |

| | |
|---|---|
| OMAHA, Nebraska | 1455 |
| Laramine, Wyoming | 2028 |
| Ogden, Salt Lake | 2487 |
| Sacramento, Calif | 3280 |
| SAN FRANCISCO, Calif | 3368 |
| Portland, Oregon, trwy San Francisco | 4118 |
| Sitka, Alaska | 5000 |
| Burlington Iowa | 1169 |
| Ottumwa, Iowa | 1244 |
| Red Oak, Iowa | 1410 |
| Glenwood. Iowa | 1440 |
| QUINCY, Ill | 1225 |
| Palmyra, Mo | 1240 |
| Macon City, Mo | 1295 |
| Utica, Mo | 1360 |
| Cameron Mo | 1396 |
| St. Joseph, Mo | 1431 |
| Brownville, Nebraska | 1495 |
| Atchison, Kansas | 1451 |
| Leavenworth, Kansas | 1477 |
| KANSAS CITY, Mo., trwy Cameron | 1451 |

## O NEW YORK, GYDA Y PENNSYLVANIA CENTRAL R. R., I'R LLEOEDD CANLYNOL :

(By the Pennsylvania Central Railroad, &c., to the West.)

| | Milldir. |
|---|---|
| Easton, Pa | 75 |
| Allentown, Pa | 92 |
| Reading, Pa | 128 |
| HARRISBURGH, Pa | 182 |
| Altoona, Pa | 314 |
| Ebensburgh, Pa | 328 |
| Johnstown, Pa | 352 |
| Irwin Station, Pa | 409 |
| PITTSBURGH, Pa | 430 |
| Rochester, Pa | 456 |
| Alliance, Ohio | 514 |
| Mansfield, O | 606 |
| Crestline, O | 619 |
| Lima, O | 691 |
| Fort Wayne, Ind | 750 |
| CHICAGO, Ill | 898 |
| Rock Island, Ill | 1080 |
| Clinton, Iowa | 1036 |
| Dubuque, Iowa | 1086 |
| Iowa City, Iowa | 1135 |
| Council Bluffs, Iowa | 1390 |
| OMAHA, Nebraska | 1393 |
| Laramine, Wy | 1966 |
| Salt Lake, Utah | 2425 |
| SAN FRANCISCO, Calif | 3306 |
| Burlington, Iowa | 1105 |
| QUINCY, Ill | 1161 |
| " trwy Fort Wayne | 1132 |
| Macon City, Mo | 1231 |
| Cameron, Mo | 1302 |
| St. Joseph, Mo | 1337 |
| KANSAS CITY, Mo | 1357 |
| Pittsburgh. Pa | 420 |
| Steubenville, Ohio | 473 |
| Newark, Ohio | 590 |
| COLUMBUS, Ohio | 623 |
| INDIANAPOLIS, Ind | 811 |
| Bloomington. Ill | 977 |
| Galesburgh, Ill | 1023 |
| BURLINGTON, Iowa | 1063 |
| Ottumwa, Iowa | 1138 |
| Lincoln, Nebraska | 1398 |
| OMAHA, Nebraska | 1359 |
| Cincinnati, Ohio | 743 |
| Sandoval, (O. & M.) | 803 |
| St. Louis, Mo | 1083 |
| Sedula, Mo | 1272 |
| KANSAS CITY, Mo | 1365 |
| " trwy Indianapolis | 1409 |

## GYDA YR ERIE REILFFORDD A'R ATLANTIC A'R GREAT WESTERN R. R.

(Distances by the Erie & Atlantic & Great Western Railroads, to the West, &c.)

O NEW YORK I

| | Milldir. |
|---|---|
| Paterson, N. J. | 15 |
| Great Bend, N. Y | 200 |
| Binghamton, N. Y | 214 |
| Owego, N. Y | 236 |
| Waverly, N. Y | 255 |
| Elmira, N. Y | 272 |
| Corning, N. Y | 290 |
| SALAMANCA, N. Y | 413 |
| Dunkirk, N. Y | 459 |
| Corry, Pa | 473 |
| Meadville, Pa | 515 |
| Warren, Ohio | 574 |
| Leavittsburgh, O | 577 |
| Ravenna, O | 598 |
| Talmadge, O | 610 |
| Mansfield, O | 681 |
| CINCINNATI, O | 860 |
| Meadville, Pa | 515 |
| Cleveland, O | 626 |
| Crestline, O | 701 |
| Columbus. O | 764 |
| Urbana, O | 786 |
| Indianapolis, Ind | 927 |
| St. Louis, Mo | 1188 |
| KANSAS CITY, Mo | 1470 |
| Meadville, Pa | 515 |
| Cleveland, O | 626 |
| Toledo, O | 718 |
| Fort Wayne, Ind | 812 |
| Decatur | 1041 |

| | | | |
|---|---|---|---|
| Quincy, Ill | 1194 | Council Bluffs, Iowa | 1442 |
| St. Joseph, Mo | 1400 | OMAHA, Nebraska | 1447 |
| KANSAS CITY, Mo | 1420 | San Francisco, Calif | 3361 |
| Corning, N. Y | 290 | Burlington, Iowa | 1160 |
| Hornesville, N. Y | 331 | QUINCY, Ill | 1216 |
| Buffalo, N. Y | 421 | St. Louis | 1233 |
| Niagara Falls | 440 | Macon City, Mo | 1286 |
| Detroit, Mich | 669 | Cameron, Mo | 1387 |
| CHICAGO, Ill | 953 | St. Joseph, Mo | 1422 |
| Rock Island, Ill | 1135 | KANSAS CITY, Mo | 1442 |

### CRYNOAD CYMHARIAETHOL O'R PRIF LEOEDD,

| O NEW YORK I | Gyda y Pa. Central R. R. | Gyda y N. Y. Central R. R. | Gyda yr Erie R. R. |
|---|---|---|---|
| Cincinnati, O | 743 | 881 | 860 |
| Indianapolis, Ind | 811 | 949 | 947 |
| Chicago, Ill | 898 | 962 | 953 |
| Quincy, Ill | 1161 | 1225 | 1216 |
| St Louis, Mo | 1083 | 1210 | 1188 |
| St. Joseph, Mo | 1337 | 1431 | 1400 |
| Omaha, Nebraska | 1359 | 1455 | 1447 |
| Kansas City, Mo | 1357 | 1451 | 1420 |

SYLWCH—Mae y TAIR Reilffordd uchod yn cychwyn o ddinas New York, ac yn cysylltu a reilffyrdd ereill yn y Gorllewin. Er mai y feraf yw y "Pennsylvania Central," nid oes llawer o wahaniaeth rhyngddynt; ac y mae pob un o honynt yn cludo ymfudwyr am brisiau isel iawn. Dewiswch eich ffordd.

### PELLDER O CHICAGO, ILL., I WISCONSIN, MINNESOTA, &C.
(Distances from Chicago, Ill., to Wisconsin, Minnesota, &c.)

O CHICAGO, GYDA Y "CHICAGO AND NORTH-WESTERN RAILWAY," I

| | Milldir. | | Milldir. |
|---|---|---|---|
| Harvard Junction | 63 | Madison, Wis | 138 |
| Clinton Junction | 78 | Racine, Wis | 62 |
| Janesville | 91 | Milwaukee, Wis | 85 |
| Milton Junction | 99 | Freeport, Ill | 121 |
| WATERTOWN, Wis | 130 | Dubuque, Iowa | 188 |
| Minnesota Junction | 148 | Clinton, Iowa | 138 |
| Fond du Lac | 177 | Cedar Rapids, Iowa | 219 |
| Oshkosh, Wis | 193 | Boone, Iowa | 340 |
| Neenah, Wis | 207 | Council Bluffs, Iowa | 488 |
| GREEN BAY, Wis | 242 | Omaha, Nebraska | 493 |

O MILWAUKEE, GYDA Y "MILWAUKEE & ST. PAUL RAILWAY," I

| | Milldir. | | Milldir. |
|---|---|---|---|
| Waukesha, Wis | 21 | Oconomowoc, Wis | 31 |
| Milton, Wis | 62 | Ixonia, Wis | 37 |
| Janesville, Wis | 71 | Watertown, Wis | 43 |
| Madison, Wis | 96 | Columbus, Wis | 63 |
| Arena, Wis | 125 | Portage City, Wis | 91 |
| Spring Green, Wis | 132 | Horicon Junction | 52 |
| Prairie du Chien | 194 | Burnet Junction | 57 |
| McGregor, Iowa | 194 | Ripon, Wis | 81 |
| Calmer, Iowa | 237 | Berlin, Wis | 94 |
| Cresco, Iowa | 256 | Minnesota Junction | 54 |
| Lime Springs, Iowa | 267 | Fox Lake, Wis | 67 |
| Ramsey, Minn | 308 | Randolph, Wis | 72 |
| Owatonna, Minn | 338 | Cambria, Wis | 78 |
| ST. PAUL, Minn | 406 | Portage City, Wis | 96 |

Lisbon, 134. Tomah, 153. Sparta, 170. Bangor, 180. La Crosse, 195.

**Nodiad.**—Ni raid i chwi ond ychwanegu y nodau uchod at rif y pellder o filldirau o New York i Chicago, er gwybod pa bellder sydd o New York i bob un o'r lleoedd a nodir uchod; megys, pellder o New York i Chicago yw 898 milldir (gyda y Pennsylvania Central). Ychwanegwch at hyny 85 m., a bydd yn 983 m. Dyna yw y pellder o New York i Milwaukie, Wis. Ychwanegwch hefyd at hyny 406 m., a bydd yn 1389 milldir. Dyna yw y pellder o New York i St. Paul, Minnesota.

Hefyd, dymunaf arnoch gofio, fod yn hawdd i chwi eich hunain, os ydych yn deall rhifyddiaeth, wneyd amcan-gyfrif lled gywir o bris y cludiad (*fares*) o New York i bob lle yn yr Unol Dalaethau, trwy luosogi rhif y pellderau (*distances*) â'r nodyn 3, sef tair cent y filldir. Er engraifft—cymerwch y rhif canol o bellder o New York i Kansas City, Mo., (yr hon sydd yn gyfleus i fyned i bob lle yn Kansas a Colorado, &c.,) sef 1,420 o filldirau; wedi ei luosogi gyda 3 bydd yn 4,260 o centau, yr hyn a wna ddau ddolar a deugain, a chwe' deg o centau ($42.60), sef y swm a delir yn gyffredin gan *deithwyr* am fyned yno. Tynwch *un* ran o dair allan o'r uchod, a bydd y ddwy ran gweddill yn wyth dolar ar hugain a deugain cent ($28.40), yr hwn swm sydd yn lled agos at y pris a delir gan *ymfudwyr* am fyned yno. Hefyd, codant tua cent y filldir am gludo pob *can' pwys* o *luggage* (boxes) a fyddo gan bob un dros ben 80 pwys. Cyfrifwch hyny yr un modd a'r uchod. Gwna 1,420 o filldirau, yn ol un cent y filldir, $14.20. Dwy ran o dair o hyny sydd tua $9.46. Oddeutu hyny a godant am gludo pob can' pwys o'ch *luggage* o New York i Kansas City, Mo. Mae y prisiau uchod yn rhesymol iawn; ac os cewch fyned yno am hyny, ni ddylech gwyno; mae y pellder dros bedwar-cant-ar-ddeg o filldirau! Cofiwch *nad* wyf yn dyweyd mai fel y cyfrif uchod yn *hollol* y bydd y prisiau yn mhob ffordd y teithiwch; na, oblegid mae rhai o'r reilffyrdd yn codi 4 neu 5 cent y filldir, ac ereill 2 neu 2½ cent y filldir; ac y maent yn arfer codi a gostwng eu prisiau, fel y byddai yn anhawdd cyhoeddi rhestr hollol gywir o'r prisiau, ond am dymhor byr iawn. Amcan-gyfrif yw yr uchod, ond y rheol oreu a allaf roddi i chwi er diogelu eich hunain rhag cael eich twyllo yn ddirfawr gan ddynion anonest. Ond os bydd *llawer* o ymfudwyr yn myned ar yr un pryd gyda'u gilydd o New York i'r gorllewin, &c., gallant gael eu cludo, yn nghyda'u *luggage*, am lai o lawer o arian.

## PENNOD IX.

### AUR, ARIAN, PRES, A PHAPYRAU, &C.

Yn yr "YMFUDWR" a gyhoeddais yn Nghymru yn 1854, t. d. 82—86, ceir llawer o gyfarwyddiadau i adnabod a deall gwerth cymharol yr aur, a'r arian, a'r papyrau, a arferir yn yr Unol Dalaethau. Sylwch ar y rhai hyny, os yw y llyfr hwnw genych. Y pryd hyny yr oedd papyrau y canoedd Ariandai (*Banks*) yma yn dra lluosog; ac arian *bathol* gwahanol genedloedd y ddaiar yn cael, nid yn unig eu cyfnewid, ond hefyd eu harferyd mewn masnach yma yn gyffredin; ac yr oedd yn anhawdd eu hadnabod na gwybod eu gwir werth. Ond bu yma lawer o gyfnewidiadau ar ol hyny. Ataliwyd cylchrediad arian bathol cenedloedd ereill, fel nad oes dim yn awr yn cael eu harfer ond arian bathol y Llywodraeth Werinol hon ei hunan; ac y maent yn hawdd i'w hadnabod. Yn amser y gwrthryfel diweddaf a fu yma, dyryswyd masnach yr holl wlad; torodd llawer o fasnachwyr cyfoethog, ac o'r ariandai hefyd; ataliwyd cylchrediad yr *aur* i raddau helaeth, ac yr oedd yn annichon ei gael heb dalu pris (*premium*) mawr am dano; cododd ei bris yn raddol o *un* cent y ddolar hyd 150 cents y ddolar (unwaith)! Fel yr oedd, y pryd hyny, un ddolar o aur yn werth dwy ddolar a haner ($2.50) o bapyrau ariandai a Llywodraeth y wlad hon. Talent $1.50 mewn *bank notes* o bris (*premium*) am un ddolar o aur. Ceisiodd gelynion ein Llywodraeth ei godi yn uwch, er atal y Llywodraeth i amddiffyn ei hiawnderau, ac i ddarostwng y gwrthryfel! A phe buasai gwrthryfelwyr y De wedi llwyddo yn eu hamcan drygionus i ddatod yr Undeb, ac i sefydlu Llywodraeth eu hunain, ni buasai papyrau y Llywodraeth enwog a rhyddgarol hon yn werth dim; buasai caethwasiaeth (*slavery*), a'i holl greulonderau, yn cael ei barhau, a buasai un o'r Llywodraethau gwladol mwyaf anghyfiawn a melldigedig ar holl wyneb y ddaiar wedi cael ei sefydlu gan y *Rebels*. Dyna oedd eu hamcanion

arswydol; ac y mae yn syndod i mi fod neb yn Lloegr wedi eu cefnogi. Ond yr oedd y Goruchaf wedi penderfynu diddymu caethwasiaeth; daeth gwaedd pedair miliwn o gaethion truenus i'w glustiau Ef, a goruchellywodraethodd ddrygau y rhyfel i lwyr-symud eu gorthrwm am byth; a chafodd y gwrthryfelwyr weled a theimlo dyrnod arswydol, ond cyfiawn, ei ddialedd Ef. Yr oedd llaw Duw i'w gweled yn amlwg yn narostyngiad y gwrthryfelwyr, rhyddhad y caethion, a buddugoliaeth milwyr dewrion y Llywodraeth hon. Diolch iddo. Mae y Llywodraeth Werinol hon yn awr wedi cael ei thra-dyrchafu mewn cyfiawnder, a gallu, anrhydedd, a dylanwad, yn ngolwg holl deyrnasoedd y ddaiar. Er hyny, costiodd y rhyfel iddi oddeutu saith-ar-hugain o filoedd o *filiynau* o ddoleri ($2,700,000,000), neu tua £540,000,000. Buasai hyny yn ddigon i ddirlethu ambell i lywodraeth, fel na buasai yn gallu codi ei phen byth mwyach. Yn amser y rhyfel gorfu i'r Llywodraeth hon wneyd llawer o *Government Notes*, mewn gwahanol bapyrau, (gwerth 1, 2, 3, 5, 10, 20, hyd $100 yr un), y rhai a elwir gan y bobl, yn "*green-backs*," am eu bod wedi eu harliwio yn wyrddlas; a phapyrau bychain ereill (*fractions*) gwerth 3, 5, 10, 15, 25, a 50 *cents;* oll yn bapyrau cymeradwy. ac mewn arferiad cyffredinol, oddieithr y *counterfeits* (tebyg iawn iddynt) a wnaed, ac a wneir eto, gan gelfyddydwyr medrus a thwyllodrus; ac y mae llawer o'r rhai hyny yn cael eu lledaenu ar hyd y wlad, a dylai pawb eu gochelyd, os gall, trwy beidio derbyn na dosbarthu dim math o honynt; gallant gael sicrwydd am hyny trwy eu dangos i fasnachwyr ac arianwyr deallgar a gonest. Mae y Llywodraeth wedi rhoddi *bonds*, o wahanol fathau, am lawer o filiynau o ddoleri o swm ei dyled wladol, ac yn talu gwahanol lôg (*interest*) blyneddol mewn *aur* am danynt. Mae gan filoedd o ddeiliaid teyrngarol y wlad hon, a lluoedd mewn gwledydd ereill, y fath ysgrifrwymau (*bonds*), ac y maent yn hollol ddiogel. Mae y Llywodraeth yn sicr o'u talu mewn *aur*, gyda y llôg hefyd mewn aur. Mae wedi addaw ac ymrwymo i wneyd hyny; mae ganddi ddigon o allu i wneyd hyny; ac nis gall beidio gwneyd hyny, heb golli ei han-

rhydedd, a darostwng ei hun yn ddirfawr. Tra byddo Plaid y Gwerinwyr (*the Republican Party*) yn ddigon cryf (fel y maent yn awr) i wneyd a gweinyddu y deddfau, ni bydd perygl iddynt *hwy* beidio gwneyd hyny; ond credwyf, os byth y daw Plaid y Democratiaid llygredig (*Copper-heads*) eto i lywodraethu y wlad hon, y byddai perygl iddynt ddiddymu llawer o'r deddfau rheidiol a llesol a wnaed yn amser y rhyfel, ac wedi hyny, a *gwrthod* talu y *bonds* a'r *interest* mewn aur, fel y mae rhai o honynt wedi amlygu eu drwg duedd a'u hamcanion eisoes. Ond yr wyf yn gobeithio pethau gwell, er fy mod yn ysgrifenu fel hyn, er rhybudd a lles cyffredinol fy nghenedl. Ar ol llofruddiad yr Arlywydd enwog, Abraham Lincoln, yr hwn oedd y Cyrus a gododd Duw i amddiffyn bywyd ac iawnderau y Llywodraeth hon, ac a anfarwolodd ei enw trwy y Cyhoeddiad a roddodd o Ryddhad y Caethion, bu Andrew Johnson yn eistedd yn y Gadair Arlywyddol, ac yn ei dymhor byr ef cafodd y Llywodraeth lawer o ofidiau a rhwystrau, wrth geisio gwneyd deddfau da i adferu trefn (*Reconstruction*) yn nhalaethau y De; ac *ychwanegwyd* dyled y Llywodraeth. Ond o ddechreuad Llywyddiaeth General Grant, ein Harlywydd enwog presenol, trwy ei ddoethineb a'i degwch, a'i gynildeb ef, a'i gynghorwyr, a'r Blaid Werinol, talwyd miliynau lawer o'r ddyled wladol, gyda'r holl logau mewn aur, fel nad yw yn *awr* ond tua tair-ar-hugain o filoedd o filiynau ($2,300,000,000). Lleihad o tua pedwar can' miliwn o ddoleri ($400,000,000), mewn ychydig dros dair blynedd! Mae yn deilwng i gael ei *ail* ethol yn Arlywydd am bedair blynedd eto, am hyny, heb son am ei rinweddau ereill. Talasant yn agos i saith miliwn a haner o ddoleri ($7,500,000) bob mis; ac yn agos i naw deg o filiynau o ddoleri ($90,000,000) bob blwyddyn! Os parheir i dalu yr un swm bob blwyddyn eto, bydd yr holl ddyled, a'r llogau, wedi eu llwyr-dalu yn mhen oddeutu chwe' blynedd ar hugain eto—tua'r flwyddyn 1898. Gall hyny fod tua'r flwyddyn 1900. Nid yw pris yr aur (*premium*) yn AWR ond tua 14 cent y ddolar, ac y mae y *premium* ar *bonds* y Llywodraeth yn fwy na hyny; efelly y maent yn werthfawrocach

na'r aur, yr hyn sydd yn profi fod gan ddinaswyr y wlad hon, a thrigolion Ewrop, hyder cryf yn ngallu y Llywodraeth hon i dalu ei holl ddyled, gyda y llogau goreu. Credir hefyd fod yr amser yn agos pan fydd un dolar *papyr* y Llywodraeth hon yn gyflawn werth (*at par*) un dolar aur; ac wedi hyny bydd adferiad ar gylchrediad aur ac arian (*specie*, neu arian bathol) mewn masnach yn gyffredinol. Ond fel y mae yn awr, ychydig o aur ac arian a arferir mewn masnach yn y wlad hon; dim ond papyrau, gwahanol *notes* y *National Banks*, (y rhai a ffurfiwyd yn ddiweddar,) a *green-backs* y Llywodraeth, y rhai ydynt hollol gymeradwy.

Cynghorwyf chwi, pan y byddoch yn ymfudo o Gymru i'r Unol Dalaethau Amerigol, i newid eich holl arian am aur, neu i'w talu yn swyddfa ddiogel *Guion & Co.*, 25 Water St., Liverpool, a rhoddir *drafft* i chwi am y cyfanswm (gofalwch am gadw hwnw yn ddiogel), a chewch ei gyflawn werth mewn *aur y wlad hon*, yn swyddfa Williams & Guion, 29 Broadway, New York, ar ol eich tiriad diogel yma. Dyna y ffordd oreu. Mae llawer wedi *colli* eu haur a'u harian ar y môr, ac wrth gerdded heolydd Liverpool a New York, a theithio yn y *trains*. Ond yn swyddfäau Williams & Guion, neu William Inman, Ysw., 22 Water St., Liverpool, a John G. Dale Ysw., New York, byddent yn hollol ddiogel i chwi, neu i'ch perthynasau; a gallech eu cael oll, neu ran o honynt, yn New York, neu wedi i chwi gyrhaedd pen eich taith, ond galw neu anfon am danynt.

Mewn cyfnewidwriaeth mae *guineas* neu *sovereigns* Llywodraeth Lloegr yn werth $4.85 mewn aur *yma*, ac ychwanegir y *premium* at hyny, yn ol fel y byddo yma ar y pryd. Er engraifft—bwriwch fod un o honoch eisiau cyfnewid un sovereign o aur Lloegr am aur y wlad hon, yn *awr*, dylai gael am dani bedair dolar aur ac wyth deg pump o centau ($4.85), ychwanegwch bris yr aur (*premium*) fel y mae yn awr, sef 14 cents am bob dolar aur, neu tua 67 cents am $4.85, a dylech gael am y severeign hono $5.52 o bapyrau cymeradwy y Llywodraeth neu y National Banks yma. Os byddai genych fwy na hyny o *sovereigns* Lloegr, wedi eu talu

yn Liverpool, neu eisiau eu newid yn New York, lluosogwch $5.52 â nifer y sovereigns, fel hyn—os 5 fydd genych, byddant yn werth $27.60; os 10, byddant yn werth $55,20; neu os 20, dylech gael $110.40 am danynt. Pan fyddo Cymry America yn prynu *drafts* i anfon i'w perthynasau i Gymru, neu i dalu eu *passage* dros y môr yma, rhaid iddynt dalu mewn *papyrau* yma, fel uchod, am *sovereigns* Lloegr. Bydd gwerth y sovereign yn parhau yr un bob amser, sef tua $4.85, ond cofiwch y bydd pris yr aur (*premium*) yma yn codi ac yn gostwng. Gall *godi* eto i 20 cents y dolar, neu gall *ostwng* i 10 neu 5 cent y dolar; a goreu oll i chwi ar ol dyfod yma, ac i ninau hefyd, pe na byddai *premium* o gwbl; ond bod pob sovereign yn werth dim mwy na $4.85, a bod pob dolar *papyr* yn wir werth 100 cents (*at par*) mewn aur neu arian.

Credwyf y bydd yr ysgrif hon yn gymhorth i ymfudwyr i adnabod, i gyfnewid, a deall gwir werth aur, ac arian, a phapyrau (*bank notes*) y Llywodraeth hon. Ond rheidiol iddynt fydd cael amser ac ymarferiad mewn masnach, cyn y gallant eu hadnabod a'u deall yn berffaith. Nid oes dim o arian Lloegr yn cael eu harfer mewn masnach yma yn awr.

## GWAITH A CHYFLOGAU.

Yn yr un llyfr, sef "Yr Ymfudwr," t. d. 91, 92, cyhoeddais restr o'r gweithfeydd, a'r celfyddydau, a'r cyflogau, ac o brisiau gwahanol nwyddau, llety, ymborth, dillad, &c. Ond dylid cofio fod y cyflogau wedi codi ychydig, a phrisiau ymborth, a dillad, a phob peth arall wedi codi llawer mwy yn amser y rhyfel, ac y maent yn parhau felly eto i raddau ehelaeth. Cyn y rhyfel, yr oedd y cyflogau, a'r ymborth, a'r dillad, &c., yn isel iawn; yn amser y rhyfel codasant yn afresymol; ac ar ol y rhyfel gostyngwyd llawer ar y cyflogau, ond ychydig a ostyngwyd ar brisiau gwahanol nwyddau rheidiol. Mae y tafleni canlynol yn lled gywir yn ol fel y mae pethau yma yn awr. Ond gwahaniaethant y cyflogau a'r prisiau mewn gwahanol dalaethau.

CYFLOGAU MERCHED.

| | |
|---|---|
| Morwynion.......... | o $2 i $3 yr wythnos, a'u bwyd. |
| Golchwragedd.......... | o $1 i $1.50 y dydd, a'u bwyd. |
| Byd-wragedd........ | o $5 i $8 yr wythnos, a'u bwyd. |
| Dressmakers......... | o $4 i $6 yr wythnos, a'u bwyd. |
| " .......... | o $6 i $10 yr wythnos. |
| Milliners.. .......... | o $5 i $8 yr wythnos, a'u bwyd. |
| Genethod............ | o $1 i $1.50 yr wythnos, a'u bwyd. |

CYFLOGAU MEIBION.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Blacksmiths..... | o $1.50 i $3.00 | y dydd, heb | eu bwyd. |
| Carpenters...... | o $2.00 i $3.00 | " | " |
| Masons.......... | o $2.00 i $3.00 | " | " |
| Bricklayers...... | o $2.50 i $3.50 | " | " |
| Plasterers........ | o $2.50 i $3.50 | " | " |
| Engineers........ | o $2.00 i $3.00 | " | " |
| Moulders......... | o $2.00 i $2.50 | " | " |
| Cabinet Makers.. | o $2.50 i $3.00 | " | " |
| Painters ......... | o $2.00 i $2.50 | " | " |
| Shoemakers ..... | o $1.50 i $2.00 | " | " |
| Printers ......... | o $2.00 i $3.00 | " | " |
| Coopers......... | o $2.00 i $3.00 | " | " |
| Tailors.......... | o $2.00 i $3.50 | " | " |
| Laborers ........ | o $1.50 i $2.00 | " | " |
| Store Clerks..... | o $500 i $800 | y flwyddyn, a'u | bwyd. |
| Book-keepers.... | o $800 i $1,200 | " | " |

Mae y mwnwyr yn gyffredin yn y gweithfeydd glo yn Pennsylvania yn gallu enill o $50 i $100 y mis (a rhai fwy na hyny), pan fyddont yn gweithio. Ond y maent yn colli dau fis neu dri bob blwyddyn o achos y *strikes*, &c. Gweithiant yn fwy cyson yn y Gorllewin a'r De; ond nis gallant enill yno ond o $2 i $3 y dydd, er gweithio yn galed am lawer o oriau.

Mae dynion medrus a sobr yn y gweithfeydd haiarn yma yn gallu enill o $3 i $5 y dydd, a rhai fwy na hyny, yn ol fel y byddo eu gwahanol orchwylion—yr *heaters*, a'r *puddlers*, a'r *rail-straighteners*, sydd yn cael y cyflogau mwyaf. Ond nid ydynt hwythau yn gweithio yn gyson drwy y flwyddyn, mewn rhai manau.

Mae y chwarelwyr llechi yn Pennsylvania, a Vermont, a Virginia, yn enill o $2 i $3 y dydd, pan fyddont yn gweithio. Ond y maent hwythau hefyd yn aml yn colli llawer o ddiwrnodau, ac weithiau fisoedd.

Mae *gweision tyddynwyr* yn cael o $27 i $34 y mis,

heb eu bwyd, trwy'r flwyddyn; ac o 18 i $25 y mis, a'u bwyd; neu o $1.50 i $2 y dydd, heb fwyd; ac o $1 i $1.50 y dydd, a'u bwyd. Enillant ychwaneg am y tymhor haf yn unig, yn amser prysurdeb y cynhauaf.

### PRISIAU GWAHANOL BETHAU.

Gall dynion ieuainc gael bwyd a llety mewn tai cyffredin am o $4 i $5 yr wythnos; a merched ieuainc am o $3 i $4. Rhaid iddynt dalu llawer mwy mewn hotels a thai parchus, os byddant am fyw yn uwch na'r cyffredin. Rhaid i deithwyr dalu yn yr hotels 50 cents y pryd, a 50 cents am lety am un noson; ychydig lai a mwy mewn manau. Mae y mwnwyr yn Pennsylvania yn talu o $22 i $25 y mis am eu bwrdd a'u llety.

Gall dynion ieuainc gael gwisg o ddillad da, wedi eu gwneyd yn barod, am o $20 i $35, a gwisg gyffredin gref am o $15 i $20. Ond nis gall neb gael gwisg o frethyn du da gan y teilwriaid goreu heb dalu o $40i $50, a mwy na hyny. Ceir gwisg ysgafn haf am o $5 i $8; crysau am o $1.50 i $3; hosanau am o 25 i 50 cents; het dda am $7; het gyffredin am o $1 i $3; cap am o $1 i $10; esgidiau am o $2 i $4; *boots* am o $5 i $10.

Nid wyf yn ddigon cyfarwydd am brisiau gwahanol wisgoedd merched, i roddi rhestr o honynt yma; ond deallwyf eu bod yn llawer iawn uwch yma yn awr nag oeddynt cyn amser y gwrthryfel. Ond rywfodd y mae gwragedd a merched y gweithwyr diwyd a sobr yn cael helaethrwydd o ddillad da a gweddus yma. Gwlad dda iawn i'r gwragedd a'r merched ieuainc rhinweddol yw hon.

Mae y rhenti a'r trethoedd yn lled uchel yn y dinasoedd yma yn awr. Nis gellir cael ty cyffredin, a phedair neu bump o *rooms* ynddo, heb o $10 i $15 y mis; a rhaid talu llawer mwy na hyny am ychydig o ystafelloedd bychain, anghyfleus, yn New York, a'r dinasoedd mawrion.

### YR AGERDDLONGAU (THE STEAMSHIPS).

Gorfu i'n tadau a'n mamau, sef yr hen Gymry enwog ac anturiaethus, a ymfudasant o Gymru i America, er

ys dros ddau gant o flyneddau yn ol, ac am ugeiniau o flyneddau wedi hyny, groesi y Werydd mawr mewn llongau hwyliog bychain, ac anghyfleus; ac wedi iddynt dirio yma, gorfu iddynt deithio ar draed ac mewn cerbydau diaddurn, ar ffyrdd anhygyrch, neu mewn hen fadau bychain a budron, ar afonydd a chamlasau; a sefydlu yn y coedwigoedd ar diroedd anniwylliedig, heb gyfeillion i'w croesawu, na chyfleusderau masnachol na chrefyddol, yn nghanol anifeiliaid rheibus, ac Indiaid anwareiddiedig. Dyoddefasant hwy lawer iawn o gyfyngderau, a buont mewn peryglon lawer ar fôr a thir. Ond erbyn heddyw y mae pethau wedi cyfnewid er gwell; dan nawdd y Nef, gall ymfudwyr Cymreig, ac ereill, groesi y môr mawr llydan mewn agerddlongau (*steamers*) mawrion cryfion, wedi eu gweithio yn y modd goreu, gyda y cyfleusderau mwyaf, am brisiau isel, mewn o naw i ddeuddeg o ddiwrnodau! Wedi iddynt lanio yn New York, neu Boston, neu Philadelphia, neu Portland, Maine, cânt bob cyfleusderau rheidiol, mewn cerbydau ardderchog, i deithio ar y gwahanol reilffyrdd, am brisiau isel, braidd i bob man a ddewisont yn y Talaethau, a rhai o'r Tiriogaethau hefyd: cânt berthynasau a chyfeillion i'w croesawu, tai da i drigo ynddynt, a thiroedd rhad a breision i sefydlu arnynt, digon o waith a chyflogau da yn union, a llawer o fanteision masnachol, addysgiadol, a chrefyddol, mewn llawer o fanau. Ond cofier fod eto lawer o helbulon a phrofedigaethau, ac weithiau beryglon, i'w cael wrth ymfudo yn *mhell* i diroedd y gorllewin, a'r gogledd, a'r de. Cryn drafferth a helbul sydd wrth ymfudo eto, yn enwedig i'r rhai sydd ganddynt lawer o blant, ac ychydig o arian.

Mae yma lawer o afonydd mawrion, megys yr Hudson, y Delaware, yr Ohio, y Mississippi, a'r Missouri, y gellir teithio arnynt am ugeiniau, a chanoedd, a miloedd o filldirau, mewn agerddfadau ardderchog a chyfleus; ac o gamlasau, a llynoedd mawrion, y gellir teithio arnynt mewn agerddfadau, a llongau hwyliog, a hirfadau llwythog o nwyddau, am brisiau llawer îs na'r reilffyrdd; ond nid ydynt yn myned yn agos mor gyflym. Ychydig sydd yn teithio arnynt er ys blyn-

eddan, ond yn y manau hyny nad oes reilffyrdd yn gyfleus iddynt.

Ond rhaid i chwi groesi y Werydd naill ai mewn llongau hwyliog neu mewn agerddlongau. Cymer y llongau hwyliog o dair i chwech wythnos i groesi y môr o Liverpool i New York; ond daw yr agerddlongau o'r naill borthladd i'r llall mewn o naw i ddeuddeg *diwrnod.* Cynghorwyf chwi i ddyfod yn yr *agerddlongau goreu,* sef y rhai a nodir yn yr Hysbysiadau (*Advertisements*) ar ddiwedd y llyfr hwn, yn enwedig y "*Guion Line*" a'r "*Inman Line.*" Mae ganddynt Oruchwylwyr (*Agents*), a llawer o honynt yn Gymry, yn mhob dinas a thref trwy yr Unol Dalaethau. Gellwch gael eich *passage tickets* ganddynt hwy.

# PENNOD X.

## CYNLLUN O GYNNWYSIAD YR AIL GYFROL.

(*Cyhoeddir hanes yr holl enwogion Cymreig yn hono.*)

Rhoddaf yma ychydig o hanesion am rai o Gymry enwog America, er mwyn i'r darllenwyr gael mantais i wybod ychydig am gynnwysiad Cyfrol II. o "HANES CYMRY AMERICA," yn flaenorol i'w chyhoeddiad. Tybiodd rhai fy mod yn bwriadu cyhoeddi yr holl *Ddarluniau* a anfonwyd i mi yn y llyfr. Buasai hyny yn ddymunol; ond nis gallaswn wneyd hyny dan lai na *deng mil o ddoleri*. Os bydd rhai yn dewis cyhoeddi eu Darluniau *eu hunain* yn yr AIL GYFROL, bydd yn hoff genyf wneyd hyny, os talant hwy y draul; a diau fod llawer yn alluog i wneyd hyny. Cadwaf yr holl *Ddarluniau* yn ofalus; a dichon, yn y dyfodol, y penderfyna Cymry America i gasglu *trysorfa ddigonol* i gyhoeddi yr holl Ddarluniau, er mwyn cael Hanes *Darluniadol* o'n cenedl yn y wlad hon.

### YR ANRH. LLEWELYN BREESE, (SECRETARY OF STATE), WISCONSIN.

Anfonwyd y braslun canlynol o fywyd y Cyfrinydd enwog uchod i mi gan John T. Jones, Ysw., Madison, Wis., yr hwn sydd yn berffaith gydnabyddus ag ef:—

"Ganwyd gwrthddrych yr hanes hwn yn Abermynach, Sir Feirionydd, G. C., Mai 13, 1833. Cafodd ei ddwyn i fyny gan rieni parchus a duwiol gyda y Trefnyddion Calfinaidd. Derbyniwyd ef yn gyflawn aelod yn eglwys Proscairon, Wis., pan yn 14 ml. oed, dan weinidogaeth y Parch. Thomas H. Roberts. Etifeddodd yn

ehelaeth o rinweddau ei hynafiaid, a buan y dadblygodd ei alluoedd nes ei ddwyn i sylw neillduol yr eglwys. Yr oedd yn ymroddgar a defnyddiol yn ei holl gysylltiadau crefyddol, yn gystal a gwladol; yn ymdrechgar gyda'r canu, ac yn arweinydd y côr; yn athraw llafurus yn yr Ysgol Sabbothol, ac yn arolygwr gweithgar a defnyddiol tra y parhaodd yn yr ardal. Yr oedd yn 25 mlwydd oed pan y symudodd i Portage City, prif dref y swydd. Gan nad oedd yno achos Cymreig, ymunodd â'r Eglwys Bresbyteraidd; ac nid hir y bu yno cyn i'w dalentau disglaer, ei fywyd dichlynaidd, a'i sêl dros grefydd dynu sylw ac enill parch ac ymddiried yr holl aelodau; o herwydd yn mhen blwyddyn cafodd ei ddewis yn 'ddiacon' yn yr eglwys, ac yn fuan yn arweinydd y côr, ac yn arolygwr yr Ysgol Sul; a chyn hir etholwyd ef yn henadur (*elder*), pa swydd a lanwodd yn anrhydeddus hyd nes y symudodd i Madison, prif dref (*Capitol*) y dalaeth, i ymgymeryd â dyledswyddau ei swydd bresenol fel Cyfrinydd y Dalaeth (*Secretary of State*). Ac yn fuan ar ol ei ymgysylltiad â'r Eglwys Bresbyteraidd yn y brif ddinas, dewiswyd ef yn henuriad yno. Y mae ei fywyd crefyddol yn brawf diymwad o'r gwirionedd hwnw—'Fy anrhydeddwyr a anrhydeddaf.'

"Y swydd *wladol* gyntaf yr etholwyd ef iddi oedd *School District Clerk*. Wedi hyny bu yn Oruchwyliwr Trefol flwyddyn, yn Drysorydd flwyddyn, ac yn Ustus Heddwch dair blynedd; Is-Sirydd Columbia Co. ddwy flynedd, pryd yr etholwyd ef yn Drysorydd y County; ac etholwyd ef ail a thrydydd tro i'r un swydd—am chwe' blynedd o gwbl. Ar derfyniad pa amser, ymgysylltodd â'r cwmni masnachol cryfaf yn nghanolbarth

y dalaeth, sef N. H. Wood & Co., a pharha yn un o'r *firm* hyd heddyw.

"Yn 1869 etholwyd ef drwy fwyafrif mawr, dros ddau wrthwynebydd, yn Gyfrinydd Talaethol (*Secretary of State*)—y swydd uwchaf ac anrhydeddusaf, ond Llywodraethwr y Dalaeth, a'r bwysicaf o'r cwbl, a'r swydd, o'r holl swyddi talaethol, sydd yn gofyn pen clir, a dealltwriaeth cyflym, oblegyd y mae yn drindod o swyddi; mae ei daliedydd nid yn unig yn Gyfrinydd, ond hefyd yn Brawydd (*Auditor*); ac yn ol cyfraith a wnaed yn 1870, ar ol iddo ef ymgymeryd a'i swydd, yn *Brwyadur* Yswiriant (*Commissioner of Insurance*). Yn nhalaeth New York, a thalaethau ereill, mae y tair swydd uchod ar eu penau eu hunain, gyda thri o wahanol bersonau yn eu dal. Pan yn Nghymanfa Gyffredinol Dirprwywyr Yswiriant y gwahanol dalaethau yn New York, yn Mehefin, 1871, etholwyd ef yn Is-Lywydd.

"Felly cyfododd o rîs i rîs, nid yn unig i'r safle swyddogol uwchaf ond un yn y dalaeth, ond hefyd i'r safle gyda'r uwchaf o unrhyw Gymro yn y wlad, yn mharch ac edmygedd nid yn unig ei gyd-genedl, ond ei gyd-ddinasyddion yn gyffredinol.

"Trwy ymdrech diflino gyda'i hen gyfeillion, y Trefnyddion Calfinaidd, yn y dalaeth, cafodd ganddynt gydsynio drwy eu Cymanfa i godi *Coleg Cymreig* yn y dalaeth; ac y maent wedi cael y freinlen (*charter*) i'r unrhyw drwy y Ddeddfwneuthurfa y gauaf diweddaf. Disgwylir yn y dyfodol ganlyniadau gwerthfawr ac anmhrisiadwy i'n cyd-genedl o bob enwad drwy y symudiad canmoladwy a chenedlgarol hwn.

"Cariwyd yn unfrydol yn Synod Bresbyteraidd Wisconsin, a gynhaliwyd yn Portage City yn 1868, gynygiad o'i eiddo i ddwyn Presbyteriaid a Methodistiaid

Calfinaidd Cymreig y dalaeth i ddealltwriaeth gwell, ac i undeb agosach â'u gilydd, er hyrwyddo yr achos mawr yn y dalaeth. Penodwyd ef a'r Parch. T. G. Smith, gan y Synod, i ymweled â Chymanfa nesaf y Methodistiaid yn Racine, yn Mehefin, 1869. Dyna gychwyniad y teimladau da a charedig, a chyfnewidiad blyneddol o opiniynau a moesgyfarchiadau cynes a Christionogol a gymerodd le er y pryd hwnw, rhwng y ddau enwad yn y dalaeth.

"Yn Assembly Gyffredinol y Presbyteriaid yn Chicago, yn Mehefin diweddaf, etholwyd Mr. Breese, a Dr. Thomas, o Athrofa Dduwinyddol Lane, Cincinnati, Ohio (yr hwn hefyd sydd Gymro), yn gynnrychiolwyr yr Assembly i Gymanfa Gyffredinol y Methodistiaid Calfinaidd, yn mis Medi, 1871, yn ninas New York."

JOHN T. JONES.

Madison, Wis., Awst 21, 1871.

### Y DIWEDDAR BARCH. THOMAS THOMAS (W.), REMSEN, ONEIDA CO., N. Y.

Ganwyd ef yn y Bala, Meirionydd, G. C., Tachwedd 10, 1814. Derbyniwyd ef yn aelod o'r eglwys Annibynol yno pan oedd yn ieuanc iawn. Wedi hyny ymunodd â'r Wesleyaid, a dechreuodd bregethu yn Gwyddelwern, pan yn 22 mlwydd oed. Pregethodd lawer yn Nghymru gyda dylanwad mawr. Ymfudodd i America yn y fl. 1854. Cafodd ei urddo gan y Wesleyaid Esgobawl yn y wlad hon. Bu yn gweinidogaethu yn ffyddlon yn ninas New York, Ironton, Ohio, ac yn Utica, a Remsen, Sixty, South Trenton, a Ninety-Six, Oneida Co., N. Y. Priododd â Mrs. Mary Owen, New York, Gorphenaf 22, 1860. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y diweddar Barch. John Ellis (W.) Yn 1867 *llosgodd* ei dy, a'r oll a feddai yn Remsen, N. Y. Ar ol hyny ymwelodd â'r sefydliadau a'r eglwysi Cymreig yn America. Pregethai gyda y gwahanol enwadau

yn ddiwahaniaeth, a chafodd lawer o gydymdeimlad a chynorthwy. Yn Mai, 1869, ymwelodd â "Hen Wlad ein Tadau." Bu yno am bum' mis, a chafodd groesawiad mawr. Ar ol ei ddychweliad i Remsen, N. Y., cafodd ei flino gan y *rheumatic fever*, a bu yn gorwedd am wythnosau lawer. Teimlai yn dawel a dedwydd iawn yn ei gystudd. Yr oedd yn Gristion didwyll. Yr oedd Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio, "yn bopbeth, ac yn mhobpeth" iddo. Canai yn hyfryd iawn, yn ei oriau olaf, y geiriau canlynol:—

"Am grefydd ymofynwn,
A cheisiwn nes ei chael;
Gall hon ein dal a'n lloni,
Pan f'om ar wely 'n wael," &c.

Bu farw yn dawel yn yr Arglwydd, Hydref 13, 1870, yn 56 mlwydd oed. Claddwyd ef yn barchus yn mynwen *Fairchild*, yn mhlwyf Remsen, N. Y. Gadawodd ei weddw ddiweddaf, a dau o blant o honi hi, a saith o blant o'i wraig gyntaf, i alaru ar ei ol.

Dyn tal a nerthol o gorffolaeth oedd Mr. Thomas. Yr oedd ei wallt yn oleu, ei lygaid yn dreiddiol, a'i lais yn gryf. Yr oedd yn bregethwr synwyrgall, trefnus, nerthol, a nodedig wresog. Yr oedd hefyd yn fugail da, yn gyfaill ffyddlon a siriol; ac yr oedd yn gymeradwy a pharchus gan yr holl eglwysi. Yr oedd ganddo ei wendidau; a chafodd ei ran o brofedigaethau cenhadon ffyddlon Iesu. Gwel ei hanes yn helaethach yn y "CENHADWR," am Ionawr, 1871; ac yn y "DRYCH," am Rhagfyr 15, 1870.

## PARCH. REES EVANS (T. C.), CAMBRIA, COLUMBIA CO. WISCONSIN.

Ganwyd y gweinidog parchus, a'r pregethwr talentog hwn, yn y Goetre, plwyf Llangybi, Sir Aberteifi, D. C., tua'r flwyddyn 1817. Yr oedd yn 53 mlwydd a naw mis oed, yn Gorphenaf, 1871. Ganwyd a magwyd ef yn yr un ty a'r hen Davies, Castell Howell. Mae yn Wisconsin er y flwyddyn 1842. Dechreuodd bregethu yn Racine yn 1847. Ordeiniwyd ef yno yn 1852. Bu yn gweinidogaethu am bedair blynedd yn Chicago; ac

y mae yn weinidog poblogaidd a defnyddiol yn sefydliad Cymreig mawr Cambria, Wisconsin, lle mae y Trefnyddion Calfinaidd yn dra lluosog a dylanwadol, er ys dros 14eg o flyneddau. Mae yn fugail sefydlog ar eglwys y T. C., yn Cambria, Wisconsin. Mae ganddo wraig, a chwech o blant; mwynha iechyd da; mae ei amgylchiadau bydol a chymdeithasol yn gysurus; nid yw yn arfer ymrwystro gyda' negesau y bywyd hwn. Mae maes ei weinidogaeth yn eholaeth, am hyny bydd ganddo ddigon o waith i'w gyflawni bob amser.

PARCH. EVAN OWEN (A.), RIDGEWAY, IOWA CO., WIS.

Ganwyd ef yn Tymawr, Ceulan, ger Talybont, Sir Aberteifi, D. C., Chwefror, 26, 1823. Yr oedd ei rieni, sef Evan Owen, ac Ann Richards, (wedi hyny o Morben, plwyf Machynlleth,) yn aelodau ffyddlon gyda'r Annibynwyr; a'i frawd, y Parch. John Owen (A.), yn weinidog enwog yn Llangefni, Mon. Cafodd ei fagu ar dyddyn yn Nghymru, ac y mae yn dyddynwr parchus eto yn Wisconsin. Cafodd addysg ddyddiol. Derbyniwyd ef yn aelod yn Talybont, Aberteifi, pan yn 16 ml. oed. Priododd â Miss Elizabeth Morgan, merch Richard Morgan, Ysw., Talybont, Mawrth, 1847. Ymfudodd i America yn 1849. Sefydlodd yn Waukesha, Wisconsin; bu yno am bedwar mis—yno y dechreuodd bregethu. Aeth oddiyno i Berlin, lle yr urddwyd ef yn weinidog ar yr eglwys Annibynol yno, Rhagfyr 15, 1850. Bu yno am flwyddyn a haner. Aeth oddiyno i Dodgeville—llafuriodd yn ffyddlon a llwyddianus yno, ac yn Nghapel y Coed, gerllaw yno, am 11 mlynedd. Cymerodd ofal eglwysi Ridgeway a Blue Mounds yn nechreu Ebrill, 1863, lle y mae eto yn gysurus a defnyddiol. Plant—Ann, Richard, Evan, ac Elizabeth. Dyn tal iawn, a thra nerthol, o gorffolaeth, yw Mr. Owen. Mae ganddo ben mawr crwn, tra chyflawn; talcen llydan, ond nid uchel; aeliau uchel, a llygaid bychain glas-felyn craffus; genau llydain, a gwefusau lled dewion; llais mawr, cryf, a hyglyw; ac ysgogiadau arafaidd. Mae yn Gristion da, yn ddyn synwyrgall, yn Annibynwr egwyddorol, ac yn un o'r pregethwyr

mwyaf poblogaidd a dylanwadol gyda yr Annibynwyr yn nhalaeth Wisconsin; mae ei bregethau wedi eu myfyrio yn dda, eu cyfansoddi yn ofalus a threfnus, yn meddu gwreiddiolder, ac weithiau ffraethder, a thraddoda hwynt gyda nerth a dylanwad mawr.

### Y PARCH. E. B. EVANS (A.), HYDE PARK, LUZERNE CO., PENNSYLVANIA.

Ganwyd ef yn Ty'rgof, plwyf Ystradgynlais, Morganwg, D. C., Rhagfyr 14, 1810. Yr oedd ei rieni, Benjamin Evans, a Jennett Davies, yn aelodau ffyddlon yn yr eglwys Annibynol, dan ofal y Parch. John Davies, Alltwen. Derbyniwyd ef yn aelod crefyddol o eglwys y Parch. John Rowlands (A.), Cwmllynfell, yn Mehefin, 1827. Dechreuodd bregethu yno yn Awst, 1831. Moulder oedd wrth ei gelfyddyd. Ymfudodd i America yn Mai, 1832. Sefydlodd yn Pottsville, Pa., yr un flwyddyn. Dechreuodd yr eglwys Annibynol yno yn Ionawr, 1833. Urddwyd ef yn weinidog ar yr eglwys hono, Nadolig 1833. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parch. Lewis Williams (A.), Carbondale, Pa., a'r Parch. McCool (P.), Pottsville. Ymddengys nad oedd ond Lewis Williams, Carbondale, a Daniel Jones, Bradford Co., yn gweinidogaethu gyda'r Annibynwyr Cymreig yn nhalaeth Pennsylvania y pryd hyny. Yn y fl. 1833, sefydlodd Mr. Evans eglwysi yn Minersville, St. Clair, a Five Points. Pregethodd mewn tri o'r lleoedd uchod bob Sabboth hyd ddiwedd y fl. 1849. Cerddai o 12 i 16 o filldiroedd bob Sabboth. Priododd â Miss Jane Jones, merch Humphrey Jones, Utica, N. Y., yn nghapel yr Annibynwyr yn Broom St., New York, Ebrill 26, 1842; gweinyddodd y Parch. J. J. Jones (A). Bu iddynt amrai o feibion a merched, y rhai ydynt eto yn fyw. Bu yn weinidog yn Pottsville am tua 18 ml., hyd Nadolig, 1849. Yno y dechreuodd efrydu Physygwriaeth, a daeth yn Feddyg enwog. Yn Mai, 1850, symudodd o Pottsville, i gymeryd gofal yr eglwys Annibynol yn Pittston Ferry, Luzerne Co., Pa. Bu yno hyd Hydref, 1857, pan y symudodd i Hyde Park, a sefydlodd eglwys Annibynol yno, Hydref 17,

o'r flwyddyn hono. Addolent mewn ysgoldy bychan, 28 tr. wrth 30 tr., yno. Rhifedi yr aelodau oedd 20. Nid oedd Scranton na Hyde Park ond lleoedd bychain iawn y pryd hyny. Yr oedd capel ac eglwys Annibynol yn Scranton, dan ofal y Parch. David Jones; yr hwn yn fuan wedi hyny a ymfudodd i Australia. Pregethai Mr. Evans hefyd mewn ysgoldy i'r eglwys Annibynol yn Providence, Pa. Yn ei amser ef yr adeiladwyd y capel yno; ac efe a lafuriodd er talu ei ddyled. Helaethwyd yr ysgoldy yn Hyde Park. Cynyddodd yr eglwys a'r gynulleidfa. Yn ei amser ef yr adeiladwyd yr addoldy mawr a hardd presenol yno; a bu ef yn ymdrechgar iawn er talu ei ddyled. Traul $14,000. Yn Ionawr 22, 1871, rhoddodd ofal yr eglwys i fyny o'i wirfodd, a chafodd uchel gymeradwyaeth ganddi. Yr oedd ei rhifedi y pryd hyny tua 375. Ysgol Sabbothol tua 300; a'r gwrandawyr o 700 i 800. Bu yn weinidog ffyddlon, diwyd, a chymeradwy yno am 13½ o flyneddau. Gwelodd fawr lwyddiant ar yr achos yno. Cynyddodd Hyde Park yn gyflym mewn poblogaeth, a dylanwad Cymreig. Mae Mr. Evans, a'i deulu parchus, yn byw yno eto; mae yn Feddyg medrus a defnyddiol yn y lle, ac yn parhau i bregethu yn achlysurol.

Dyn tal, a chryf o gorffolaeth, yw Mr. Evans. Mae ganddo wyneb hir, pen cyflawn, llygaid bywiog, aeliau uchel, a llais hyglyw. Mae ei ysgogiadau yn gyflym. Mae yn bregethwr da a chymeradwy—llawn o fywiogrwydd. Cyhoeddwyd amrai o'i bregethau yn y "CENHADWR."

### PARCH. MORGAN A. ELLIS (T. C.), HYDE PARK, PA.

Ganwyd ef yn Melin-y-Coed, o fewn tair milldir i Machynlleth, Maldwyn, G. C., Medi 19, 1832. Derbyniodd ddysgeidiaeth dra chyflawn, gyda y bwriad cyntaf o'i gymwyso yn athraw ysgol. Cafodd ei *Ddiploma* fel athraw o'r Borough Road "Normal Institution," Llundain. Pan yn ieuanc iawn, bu yn athraw o dan nawdd Sir Robert W. Vaughan, Nanau, Meirionydd, G. C. Enillodd sylw lluaws o foneddigion a boneddigesau tra

fuasai yn ngwasanaeth y boneddwr uchod. Arferai ei gyflwyno i sylw dieithriaid wrth y teitl, "Temperance Boy." Modd bynag, tra yr ydoedd Sir R. W. Vaughan ar ymweliad a'i ewythr yn Rûg, ger y Bala, derbyniodd y "Temperance Boy" y nodyn diswyddol canlynol oddiwrtho:—

"MORGAN ELLIS,—Having been informed of your attendance at Dissenting Chapels, I dismiss you from the school at Llanfachreth, which you will break up Saturday next; and lock both the door and gate, and deliver the keys to William Evans, Dolfach, to be forwarded to me here the first opportunity. The salary due to you till Saturday next will be paid you by Wm. Evans."

R. WMS. VAUGHAN, Rûg, 9, 1848.

Felly ymadawodd am byth â'r Ysgolion Gwladwriaethol, ac a'r Eglwys Wladol a'i noddwyr. Ni bu y llythyr uchod yn argraffedig erioed o'r blaen; ond y mae yn *gopi* perffaith o'r gwreiddiol, yr hwn sydd yn awr yn meddiant Mr. Ellis. Wedi hyny bu am 5 mlynedd yn cadw *British School* flodeuog iawn yn Llanberis, Arfon. Oddiyno daeth i'r America, ar ymweliad a'i berthynasau, gan fwriadu dychwelyd yn mhen tua blwyddyn. Dygodd gydag ef lawer o gymeradwyaethau uchel. Glaniodd yn Efrog Newydd Medi 8, 1853. Bu am beth amser yn Duff's College, Pittsburgh, Pa., fel *Assistant Professor of Penmanship*. Eithr yn fuan derbyniodd alwad i fod yn Olygydd y *Gwyliedydd Americanaidd*, newyddiadur dyddorol a gyhoeddid yn Utica, E. N. Wedi uno y "Gwyliedydd" gyda'r "Drych," o dan y teitl y "*Y Drych a'r Gwiliedydd*," bu yn *Olygydd* ar y newyddiadur unedig am yspaid o amser. Gadawodd y swydd olygyddol, ac ymgymerodd a bod yn Athraw *Normal School* yn West Bangor, swydd York, Pa. Bu yn gweinyddu fel athraw yno am bedair blynedd. Yno y dechreuodd bregethu gyda y Trefnyddion Calfinaidd. Symudodd oddiyno i gymeryd gofal yr eglwys (T. C.) yn Ebensburgh, Cambria Co., Pa. Yno yr urddwyd ef. Bu yno am dair blynedd. Wedi hyny bu am ychydig amser yn pregethu i'r Eglwys Gymreig yn St. Louis, Mo. Ar farwolaeth y Parch. Wm. Rowlands, D. D., penodwyd ef yn Olygydd y *Cyfaill;* ac y mae yn par-

hau yn y swydd hono hyd y dydd hwn. Daeth i gymeryd gofal eglwysi y Trefnyddion Calfinaidd yn Hyde Park a Bellevue, Luzerne Co., Pa., yn Ionawr, 1868. Wedi llafurio am flwyddyn gyda'r ddwy eglwys hyn, barnwyd fod y llafur yn rhy fawr, felly ymgymerodd ag eglwys Hyde Park yn unig. Pan gychwynwyd *Baner America*, dewiswyd ef yn Olygydd holl *Erthyglau Arweiniol* y newyddiadur hwnw. Efe ei hun a ysgrifenodd yr oll o honynt. Yr oeddynt yn brofion o'i ddysg a'i athrylith gref; dylanwadasant ar y miloedd, a chawsant gymeradwyaeth gref gan Gymry America. Mae gan Mr. Ellis wraig rinweddol, ac amrai o blant, ac y maent yn awr yn byw yn gysurus iawn yn Hyde Park, Pa.

Bu colli ei fraich, pan yn ieuanc, yn enill i Mr. Ellis. Dan arweiniad gofalus y Nef, cafodd addysg ragorol. A gwnaeth llythyr "diswyddol" Mr. Vaughan ragfarnllyd, les mawr iddo; penderfynodd y mynai gael anadlu yn awyr rhyddid byth wedi hyny, ac y mae yn awr yn un o'r rhai mwyaf selog dros ryddid gwladol a chrefyddol; yn llenor Cymreig coethedig, yn feirniad craffus a diduedd, yn olygydd medrus a chwaethus, yn ddarlithydd poblogaidd, yn fugail da i Iesu Grist, ac yn un o'r pregethwyr mwyaf gwreiddiol, trefnus, dysgedig, a doniol yn mhlith y Trefnyddion Calfinaidd yn America. Mae yn weinidog ar un o'r eglwysi mwyaf parchus yn Hyde Park, Pa.; ac y mae yn parhau i lenwi y swydd bwysig, sef golygyddiaeth y *Cyfaill*, mewn undeb a'i gyd-olygydd enwog, y Parch. William Roberts, D. D., Bellevue, Pa. Dan eu golygiaeth hwy, dosparthir tua 2,500 o'r *Cyfaill*, a miloedd o'r "Dyddiadur;" ac y mae y naill a'r llall yn anrhydedd i enwad parchus y Trefnyddion Calfinaidd yn y wlad hon.

### PARCH. DAVID W. MORRIS (B.), HYDE PARK, LUZERNE CO., PA.

Ganwyd ef yn Llanstephan, Sir Gaerfyrddin, D. C., Hydref 9, 1823. Mab ydyw i'r Parch. William Morris (a Lettice ei wraig), Llanelli, Sir Gaer, yr hwn a fu yn weinidog parchus gyda y T. C. am 52 o flyneddau. Bu

farw Tachwedd 5, 1869, a chladdwyd ef yn ymyl Capel Newydd Llanelli. Dysgodd y gelfyddyd o gryddiaeth. Cafodd ei fagu yn grefyddol gyda y T. C. Bedyddiwyd ef trwy drochiad, Gorphenaf 20, 1843, gan y Parch. Enoch Williams, Aberafon, Morganwg, D. C. Dechreuodd bregethu yno yn 1844. Cafodd addysg am dair blynedd yn Athrofa Hwlffordd, Penfro. Urddwyd ef yn weinidog yn Liverpool, Rhagfyr 25, 1850. Bu yno am ychydig amser. Ymadawodd oddiyno oblegid gwaeledd ei iechyd. Bu yn Cwmtwrch ac Ystradgynlais, Morganwg, am 7 mlynedd; ac yn Cwm-sarn-ddu, a Rhandir-mwn, ger Llanymddyfri, Sir Gaerfyrddin. am 7 mlynedd; ac yn Bethlehem, Abertawe, am 4 blynedd; Beulah a Smyrna, Sir Benfro, am 2 flynedd; Pont Senny a Sardis, Brycheiniog, am 3 blynedd. Priododd â Miss Ann Lloyd, merch Mr. David Lloyd, Melin Glan Sefyn, ger Llangadog, Sir Gaerfyrddin, Chwefror, 6, 1853. Mae ganddynt un mab o'r enw Albert Lloyd Morris, yr hwn a anwyd Tachwedd 14, 1854. Ymfudodd i America Tach. 7, 1870, a chymerodd ofal gweinidogaethol yr eglwys Fedyddiedig, luosog, a dylanwadol, yn Hyde Park, Pa., lle mae eto yn weinidog cymeradwy a defnyddiol.

Mae gan Mr. Morris gyfansoddiad corfforol cryf; taldra, tua 5 tr. 5 m; ond iechyd canolig a gafodd. Mae ganddo ben crwn cyflawn, talcen uchel a llydan, gwallt lled ddu, ond yn awr yn dechreu gwynu—aeliau cryfion, uchel—llygaid cochddu mawrion, treiddiol—gwefusau tewion, gwyneb crwn, edrychiad gwrol, ysgogiadau arafaidd, llais cryf a hyglyw.

Mae yn *awdwr* amrai o lyfrau gwerthfawr. 1. Maesydd y Myfyriwr—2 rifyn, pris 1s. 6c., yn cynnwys 40 o erthyglau duwinyddol, traethodau buddugol, barddoniaeth. 2. Bwrdd y Babell. Traethodau. Pris 6c. 3. Rhiniog y Cysegr. Traethodau, &c. Pris 6c. 4. Tir Emmanuel. Traethawd. Pris 3c. 5. Athrofa Iachawdwriaeth. Traethawd. Pris 3c. Cyhoeddodd amrai draethodau dan ei enw priodol yn *Seren Gomer*, a'r *Bedyddiwr*, yn Nghymru. Efe yw awdwr "Dylanwadau Esiampl," yn *Baner America*.

Mae *arddull* Mr. Morris fel awdwr a phregethwr yn

hollol briodol iddo ef ei hun, a gorchest fawr fyddai i neb arall geisio ei efelychu. Mae ganddo y fath gyflawnder o wahanol ensyniadau, ar ddull Triawd, ac y mae yn eu traddodi yn hyrwydd a nerthol, fel llifeiriant cryf, nes y maent yn hawlio sylw, ac yn creu teimlad, ond yn gorfeichio y côf. Weithiau ceir ganddo y blodau mwyaf heirdd; bryd arall y grawnsypiau melusaf; weithiau y ffraeth-eiriau mwyaf pert, a'r ergydion mwyaf disymwth a dirlethol, a phryd arall y toddiadau mwyaf efengylaidd ac effeithiol. Pe safai yn fwy syth yn yr areithfa—yr arferai ei lygaid craffus i sylwi mwy ar y gynulleidfa, a'i fraich a'i law dde i wneyd ysgogiadau (*actions*) mwy gweddus ac areithyddol, credwyf y byddai traddodiad ei bregethau campus yn llawer mwy dymunol gan y mwyafrif o Gymry America. Mae ei gymhariaethau, weithiau, yn dywyllion; ond ei amcan bob amser yn dda. Pregetha ddyledswyddau dynion yn onest; ond creda héfyd y rheidrwydd am y *dylanwadau dwyfol* i gyfnewid y galon, ac i greu bywyd ysbrydol yn yr enaid. Hir gofia llawer am y bregeth dda a draddododd yn effeithiol yn Nghymanfa y Bedyddwyr yn Mahanoy City, yn Medi, 1871, ar y geiriau yn Ezeciel xxxvii. 9, "O anadl, tyred oddiwrth y pedwar gwynt, ac anadla ar y lladdedigion hyn, fel y byddont byw."

## PARCH. WILLIAM ROBERTS, D. D., BELLEVUE, LUZERNE COUNTY, PENNSYLVANIA.

Ganwyd ef yn Llanerchymedd, Mon, G. C., Medi 25, 1810. Cafodd ysgol ddyddiol dda er pan oedd yn bum' mlwydd, hyd nes oedd yn 14 mlwydd oed. Bu wedi hyny am dair blynedd yn efrydu yr ieithoedd Saesonaeg, Lladin, a Groeg, ac elfenau rhifyddiaeth, dan ofal y Parch. William Griffiths (A.), yn Nghaergybi. Yno y dechreuodd bregethu pan yn 19 mlwydd oed. Bu am ddeuddeg mis, wedi hyny, yn yr Athrofa Bresbyteraidd, Dublin, Iwerddon, dan ofal Dr. Carlysle, Dr. Stuart, a Dr. McArthur. Pregethai yno hefyd i'r morwyr Cymreig. Bu wedi hyny yn efrydu Morwriaeth (*Navigation*), yn Liverpool; am chwe' mis; yn

athraw i deulu Dr. Roberts, Mynyddygof, Bodedeyrn, am dair blynedd; ac yn cadw *Boarding School* yn Nghaergybi am 15 mlynedd, lle y cafodd amryw o bregethwyr addysg dda ganddo, y rhai sydd yn awr yn weinidogion defnyddiol. Yn y flwyddyn 1848, ordeiniwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth efengylaidd; ac yn fuan wedi hyny cafodd alwad i wasanaethu eglwys Saesnig yn Runcorn, tua 18 milldir o Liverpool. Bu yno yn gysurus a llwyddianus am saith mlynedd; cynyddodd yr eglwys dan ei ofal o 14 i 80 o aelodau.

Yn y flwyddyn 1855, derbyniodd alwad oddiwrth eglwys y Trefnyddion Calfinaidd Cymreig, yn Allen St., New York. Cychwynodd ef a'i deulu o Liverpool Medi 25, a chyrhaeddasant Efrog Newydd Hydref 23. Bu yn dra ymdrechgar a llwyddianus i gasglu miloedd o ddoleri at dalu traul eu capel newydd hardd ar 13th St., rhwng yr 2 a'r 3 Avenues. Bu yn gweinidogaethu yno yn llwyddianus am dros 14 mlynedd. Symudodd oddiyno i gymeryd gofal yr eglwys Galfinaidd Gymreig yn Bellevue, yn ymyl Hyde Park a Scranton, Luzerne Co. Pa., haf y flwyddyn 1869, lle y mae eto yn gysurus a defnyddiol. Trwy ei anogaethau a'i ymdrechion ef, yn benaf, yr adeiladwyd, ac y talwyd traul y capel newydd hardd a adeiladwyd yno yn ddiweddar. Mae ganddo eglwys dda a ffyddlon dan ei ofal yno; ac amrai o bobl barchus, a llenorion, yn perthyn iddi.

Pan yn New York, cyhoeddodd ei bregeth ar "*Etholedigaeth Gras,*" yr hon a dynodd sylw mawr; a gwnaeth y Parch. R. L. Herbert, Adolygiad arni. Barnwyf fod y *ddau* yn rhedeg i'r eithafion cyffredin wrth ysgrifenu ar y fath bwnc. Hefyd, cyhoeddodd Mr. Roberts amrai o gyfrolau o'r "TRAETHODYDD AMERICANAIDD," yr hwn a gynnwysai bigion o erthyglau "*Traethodydd*" Cymru, a dosran neillduol i erthyglau gwreiddiol prif lenorion Cymreig America. Pris $1.50 y flwyddyn. Yr oedd, ac y mae, y rhanau a gyhoeddwyd o'r Traethodydd hwnw, yn anrhydedd i Mr. Roberts; yn brawf o'i ddwfn-ddysg, a'i dreiddgarwch meddyliol, ac o'i chwaeth goethedig, a'i fedrusrwydd llenyddol. Ond gorfu iddo ei roddi i fyny yn mhen tair neu bedair blynedd, o ddiffyg cefnogaeth ddigonol. Mae Mr. Rob-

erts yn awr yn cyd-olygu y "*Cyfaill*," a'r "*Dydd-iadur*," â'r Parch. Morgan A. Ellis.

Credwyf fod T. B. Morris, Ysw., (*Gwyneddfardd.*) wedi ysgrifenu, a chyhoeddi, darluniad cywir o'r Dr. Roberts, yn y "*Drych*," am Medi 1, 1860. Noda ei hynodion *pregethwrol*. "1. Ei ymddangosiad personol. Dyn lled fyr, o wneuthuriad cadarn a grymus ydyw, a'r pren almon yn dechreu blodeuo ar ei ben, a'i edrychiad yn ddifrifol, a'r olwg gyntaf arno yn ddigon i'ch cwbl argyhoeddi fod meddwl gwreiddiol a grymus yn goleuo y llygaid, yn addurno y gruddiau, ac yn chwyddo y fynwes ledan hono. 2. Mae ei bregethau oll wedi eu myfyrio yn dda. Mae bob amser yn goleuo y deall, ac yn gwresogi y serch. 3. Gesyd gynyrch ei fyfyrdod allan yn yr ymadroddion mwyaf cyfaddas a phriodol i'r perwyl. Dewisa eiriau da, gloywon, a dealladwy, er mwyn taro pob tant yn y galon ddynol. Ni arferai eiriau iselwael. Rhydd ef ei sain briodol i bob llythyren. Mae ganddo gyflawnder o'r geiriau goreu yn barod bob amser at ei wasanaeth. 4. Hynodir traddodiad ei bregethau gan y difrifoldeb dwysaf. Nid yw ysgafnder a gwamalrwydd yn gweddu i'r areithfa Gristionogol; ac nis gallant fyw yn ngwyddfod Mr. Roberts. Gwna i'w wrandawyr deimlo arswydion y byd a ddaw. Yn hyn y mae yn tebygu i'r anfarwol John Elias, o Fon. 5. Llwydda i uno hyawdledd gydag effeithioldeb mawr. Mae ei hyawdledd yn eich swyno, a'i effeithioldeb yn eich trydanu ar unwaith. Dylifa ei ymadroddion mor rydd ag awelon y Gwanwyn; bryd arall, cwyd ei lais mor dreiddiol a tharanau y cynhauaf. Gall uno mwyneidd-dra yr awel leddf â thrwst ysgythrog y corwynt. 6. Dyry eu lle priodol i athrawiaethau crefydd; mewn gair, mae nodweddiad y gwr parchus hwn yn ymddangos yn ei feddwl treiddiol, craffder ei olygiadau, prydferthwch ei iaith, a grym ei lais. Treiddia i athroniaeth ei bwnc, ac y mae yn bur ofalus am roddi meddwl llythyrenol ei destyn. Ymddengys ei fod yn teimlo pwys y gwirionedd ei hun; mae ei bwysleisiad yn darawiadol, a hawlia sylw ei wrandawyr. Saif Mr. Roberts yn y rhestr flaenaf fel pregethwr, nid yn unig yn America, ond hefyd yn Nghymru. Mae yn breg-

ethwr Cymanfa nodedig, o ran treiddgarwch ei lais, a bywiogrwydd ei ddull."

Mae gan Mr. Roberts amrai o ddarlithau campus, y rhai a draddoda yn achlysurol; yn enwedig ei ddarlith ardderchog ar "*Elfenau Pabyddiaeth.*"

### PARCH. THEOPHILUS JONES (B.), WILKESBARRE, LUZERNE CO., PENNSYLVANIA.

Ganwyd ef yn Caerphili, Morganwg, D. C., Ionawr, 1810. Yr oedd ei rieni, Thomas Jones, a Catherine Morris, yn aelodau ffyddlon gyda y T. C. Magwyd ef yn grefyddol. Dysgodd gelfyddyd gwehydd. Bedyddiwyd ef trwy drochiad gan y Parch. Benj. Williams, yn absenoldeb ei weinidog, yr enwog Christmas Evans. Cafodd lawer o hyfforddiadau gan y gwr nodedig a doniol hwnw. Dechreuodd bregethu yno yn Mehefin, 1831. Cafodd addysg am dair blynedd yn athrofa y Bedyddwyr yn y Fenni. Ymadawodd yn anrhydeddus o'r athrofa hon yn 1836. Bu am flwyddyn wedi hyny yn pregethu yn Llundain a Manchester, Lloegr; ac wedi hyny yn genhadwr yn Sir Aberteifi, D. C. Urddwyd ef yn weinidog ar yr eglwysi Bedyddiedig yn Bwlch-y-gwynt a'r Bwlch-newydd, Sir Gaerfyrddin, Chwef., 1839, lle bu am ddwy flynedd. Wedi hyny bu yn gweinidogaethu yn Llandeilo-fawr, hyd Ebrill, 1843. Priododd yno â Miss Mary Ann Morgan, merch David a Mary Morgan, o'r Tannery, Rhosmaen, Tach. 30, 1842. Ymfudodd oddiyno i America, yn Meh., 1843. Bu yn *supplyo* yr eglwys Saesnig (*First Church*), Williamsburgh, N. Y., am 6 mis. Wedi hyny bu yn weinidog am dros dair blynedd i'r eglwys Gymreig ar Christie St., N. Y. Bu yn *byw* yn New York am bum' mlynedd. Cafodd lawer o ofidiau yno. Ganwyd iddynt ddau o blant yno, sef David M. Jones (Cyfreithiwr), a Mary Jane Jones (boneddiges ieuanc ddysgedig), y rhai sydd eto yn fyw. Wedi hyny bu yn gweinidogaethu gyda'r Americaniaid am rai blynyddau yn *Marcus Hook,* Delaware Co., a *Hatborough,* Montgomery Co., gerllaw dinas Philadelphia, Pa. Cafodd *wely damp* a bu yn wael iawn ei iechyd am dros ddwy flynedd. Dychwelodd

gyda'i deulu i Gymru yn Mai, 1854. Bu yn gweinidogaethu yn y Tabernacl, Pontypool, D. C., am tua blwyddyn. Arosodd yn Nghymru am ddwy flynedd, a gwellhaodd ei iechyd i raddau. Dychwelodd i America yn Mehefin, 1856. Wedi hyny bu yn weinidog ar yr eglwysi Saesnig yn Nantmeal a Pughtown, Chester Co., Pa. (Hen wlad y Cymry.) Yn Ebrill, 1859, symudodd i Scranton, Pa., a bu yn gweinidogaethu i'r Cymry yno am dros ddwy flynedd. Wedi hyny bu yn gweinidogaethu i'r Saeson a'r Cymry, yn Minersville, Pa., a Hubbard, Ohio, a Mahanoy City, Pa. Dechreuodd weinidogaethu i'r eglwys Fedyddiedig Gymreig yn Wilkesbarre, Pa., Gorphenaf 1870, lle y mae eto yn gysurus a defnyddiol.

Dyn o daldra cyffredin, ac o ymddangosiad boneddigaidd, yw Mr. Jones. Mae ganddo ben crwn, tra chyflawn yn ei organau meddyliol—talcen ac aeliau uchel, llygaid mawrion o liw glas-gwan, gwefusau teneuon, gên fer, ysgogiadau cyflym, a llais mwyn hyglyw. Mae yn gyfaill didwyll a dyddan, ac mae ei ffraethder, a'i allu i adrodd hanesion, yn nodedig. Mae yn Gristion da, ac yn fugail gofalus. Mae yn un o'r pregethwyr mwyaf efengylaidd, dysgedig, synwyrol, trefnus, doniol, ac effeithiol, yn mhlith y Bedyddwyr Cymreig yn America. Mae ganddo allu mawr i bregethu yr efengyl yn eglur ac effeithiol. Er ei fod yn awr yn 60 mlwydd oed, a'i wallt yn hollol wyn, mae yn pregethu mor fywiog ag erioed. Mae ei ysgogiadau yn weddus, ei ddull yn ddifrifol, ac yn aml bydd ei edrychiad siriol, treiddiol, a'i lais tyner, hyglyw, gyda dylanwad grasol y Nef, yn creu y *teimladau mwyaf nefol* yn ei wrandawyr. Hir oes iddo.

## JOHN EDWARDS, YSW. (EOS GLAN TWRCH), ROME, ONEIDA CO., N. Y.

### WRTH EDRYCH AR EI DDARLUN.

Dyma fo! drwyddo y drych—O'r Eos;
Mor hoyw yr edrych,
Ein prif fardd;—dyn hardd, di nych,
A gwir athraw, yw'r gwrth'rych.

Heb os, yr Eos a rydd,—lawn arwyd
I lenorion gwledydd,
Mai ef yw pen awenydd,
Holl feirddion, doethion y dydd. I. G.

Mae enw, a gweithion, y bardd enwog a chadeiriol hwn, yn dra hysbys i Gymry America, yn yspaid y deugain mlynedd diweddaf. Drwy ei lafur diflino, ei athrylith gref, a'i awenyddiaeth hedegog a chysegredig, cyfododd yn uwch, uwch, i sylw a chymeradwyaeth prif feirniaid ein cenedl; cyfansoddodd lawer iawn o ddarnau barddonol, englynion, pryddestau, ac awdlau, gwir awenyddol a choethedig. Yn 1854, cyhoeddodd y "*Llais o'r Llwyn*," yr hwn a gynnwys ei awdl gampus ar y "*Croeshoeliad*," yr hon a gafodd uchel gymeradwyaeth Eben Fardd; ac enillodd 25 o wobrau am ei weithion gorchestol, yn nghyda dwy gadair—un yn Eisteddfod Hyde Park, Pa., Nadolig, 1869, am ei Awdl Fuddugol ar "*Garibaldi*," a'r llall yn Utica, N. Y., Calan, 1870, am ei Awdl Fuddugol ar "*William Penn;*" a barnodd "Cynddelw" ei Awdl ar y "*Milflwyddiant*" yn oreu yn Eisteddfod Caerfyrddin, D. C.; a "Gwilym Hiraethog" a farnodd ei Awdl ar "*Elias y Thesbiad*" yn oreu yn Eisteddfod Rhuthin, G. C. Bu agos i'r "Eos" enill y gamp ar brif feirdd Cymru yn y ddwy Eisteddfod olaf; a barnai llawer mai *efe* a ddylasai gael y cadeiriau a'r gwobrau hyny. Pa fodd bynag, ni chollodd *ef* ei anrhydedd. Mae ei awdlau yn cynnwys campwaith o uchel deilyngdod.

Ganwyd ef yn y flwyddyn 1806, mewn tyddyn a elwir Ty'nyfedw, plwyf Llanuwchllyn, gerllaw y Bala, Meirionydd, G. C. Mae *afon Twrch* yn rhedeg heibio y lle, yr hon sydd yn ymarllwys i Lyn Tegid. Oddiwrth enw yr afon hono y cymerodd efe ei enw barddonol, sef "*Eos Glan Twrch*." Enwau ei rieni oedd Dafydd a Mair Edwards. Yr oedd yn un o dri-ar-ddeg o blant. Yr oedd ei dad yn ddiacon ffyddlon gyda y T. C., felly cafodd yntau ei ddwyn i fyny yn grefyddol; a chafodd addysg ddyddiol dan ofal y diweddar Barch. Michael Jones (A.), Bala. Teithiai filldirau bob dydd i'r ysgol hono, a gweithiai yn galed, hwyr a boreu, ar dyddyn ei dad. Dywedid ei fod yn deilliaw, o du ei fam, o linach

y prydydd enwog Edmund Prys; ac ewythr iddo ef o ochr ei dad, oedd Robert Thomas, Coedladur, yr hwn oedd gyfaill mawr i Thomas Edwards (Twm o'r Nant). Ceir englynion o'i waith ef yn nechreu "*Gardd o Gerddi;*" ac arferai T. Edwards ddywedyd, mai efe oedd y parotaf i gyfansoddi englyn a welodd efe erioed. Mae y gallu hwnw yn gryf yn yr "Eos." Gwnaeth lawer o englynion byrfyfyr campus a ffraethbert.

Daeth dau frawd iddo i beth enwogrwydd, sef Thomas Edwards, yr hwn oedd yn fardd gwych (Llywarch Cynllwyd). Gwnaeth chwe' Englyn *buddugol* i'r Llywydd Rodney, yn Eisteddfod Aberhonddu, yn 1822, lle yr urddwyd ef yn fardd (a Bardd Nantglyn yn *ail* fuddugol). O gylch yr un amser, enillodd dlws cadeiriol yn Eisteddfod Merthyr, D. C., am ei Awdl ar "*Ddoethineb.*" Pregethwr ydoedd ef gyda y Bedyddwyr. Cafodd alwad gan eglwys Fedyddiedig Carmel, Sirhowy; ond bu farw ychydig amser cyn y diwrnod a benodwyd i'w ordeinio; a gweinyddodd y gweinidogion yn ei *gladdedigaeth*, yn lle yn ei urddiad. Ei frawd arall yw y Parch. David Edwards, gweinidog gyda y T. C. yn Casnewydd, D. C. Mae ganddo yntau allu awenyddol; ond ni thalodd ond ychydig o sylw i'r gelfyddyd.

Pan oedd yr Eos tua 16 mlwydd oed, dechreuodd dalu sylw neillduol i farddoniaeth. Yr oedd un John Jones (Tudur Penllyn) yn byw yn yr ardal mewn ty o'r enw Gweirgloddgilfach (lle yr arferai y Parch. Lewis Rees (A.), Llanbrynmair, bregethu gyntaf yn Llanuwchllyn). Cafodd hyfforddiant ganddo ef. Ac yn fuan wedi hyny sefydlwyd Cymdeithas y Cymreigyddion yno; rhoddwyd testynau i gyfansoddi englynion arnynt, yn fisol, a gwobrwyid y goreu ag ysnoden; efelly daeth yn feistrolgar ar y cynghaneddion. Yr oedd y Parch. Robert Thomas (A.), Bangor, G. C., a Gwilym ap Ioan, ac ereill, yn aelodau gydag ef o'r Gymdeithas hono.

Ymfudodd i'r wlad hon pan oedd tua 22 ml. oed, yn y fl. 1828. Ymunodd ag eglwys y Trefnyddion Calfinaidd yn Utica yn 1831. Symudodd i fyw i ddinas New York yn 1834. Yn fuan wedi hyny adnewyddwyd "Cymdeithas y Cymreigyddion" yno, a dewiswyd ef yn

Llywydd iddi. Yr oedd ef a Gwilym ap Ioan yn gyfeillion anwyl. Nid oedd un cyhoeddiad Cymreig i'w gael yn America y pryd hyny; ond cyhoeddai y beirdd weithiau ychydig o'u gweithion mewn newyddiadur a elwid, "*The Old Countryman.*" Dewiswyd ef yn ddiacon yn eglwys y T. C. yno, a bu yno am chwe' blynedd wedi hyny. Yno yr ymunodd mewn priodas â Miss Mary James, o Gastell Newydd Emlyn, D. C., a symudasant i fyw i dyddyn oedd ganddo ef yn Floyd, Oneida Co., N. Y., lle y buont yn byw am 24 o flyneddau, hyd y flwyddyn 1866, pan y prynasant dyddyn bychan hardd a ffrwythlon ar lan afon y Mohawk, o fewn milldir i ddinas Rome, lle y mae efe a'i deulu yn awr yn byw yn dra chysurus. Mae ganddo amryw o blant, ac y mae yn ddiacon defnyddiol yn eglwys y T. C. yn Rome.

Er pan ddechreuodd y *Wasg Gymreig* lewyrchu arnom yn y wlad hon, mae yr Eos wedi rhoddi cefnogaeth deilwng iddi, ac y mae ei gyfansoddiadau barddonol a rhyddieithol ef wedi addurno ei thu dalenau. Cyhoeddwyd y rhan fwyaf o honynt yn y "Cyfaill," a'r "Cenhadwr," "Haul Gomer," y "Seren," y "Drych," y "Cymro," y "Traethodydd," &c. Mae ef hefyd yn *llenor* medrus; cyhoeddodd lawer o ysgrifau nerthol ar Wleidyddiaeth, ac y mae yn *draethodwr* campus. Cafodd wobr am ei Draethawd Buddugol ar "*Y Beibl a Seryddiaeth,*" yn Eisteddfod Utica, N. Y., Calan, 1871. Mae ei enw ef hefyd gyda'r blaenaf mewn cysylltiad â'r *Eisteddfodau,* a bu yn beirniadu mewn deunaw o honynt. Beirniad medrus, craffus, a diduedd ydyw. Bu hefyd yn dwyn cysylltiad â chwech o wahanol gyhoeddiadau, fel *golygydd* barddoniaeth a rhyddiaeth. Nid wyf yn gwybod am un llenor Cymreig yn America mor gyflawn yn *mhob peth* ag Eos Glan Twrch; ac er nad yw ei awen gref erioed eto wedi ehedeg mor uchel a'r eiddo Eben Fardd, Cynddelw, a Hiraethog; ac na chyfansoddodd ddim eto mor wreiddiol a choethedig a Dewi Wyn; mor eglur a llithrig a Chaledfryn; mor ddwfndreiddiol a chelfyddgar a Gwalchmai; nac mor dlws ac addurnol ag Emrys; a bod ychydig o feirdd galluog yn America yn ogyfuwch ag ef mewn rhai pethau, a dichon yn

rhagori arno mewn pethau ereill—yn enwedig fel *pryddestwr*—y mae efe yn sicr yn *hawlio y blaen,* ac yn *teilyngu* cael ei restru yn mhlith *prif feirdd* Cymreig Cadeiriol yr oes hon. Mae ei iaith yn goethedig, ei syniadau yn gywir, ei grebwyll yn gref, ei ddarfelydd yn fywiog, a'i wybodaeth yn ehelaeth. Mae yn berffaith feistr ar y cynghaneddion caethion, ac wedi cysegru ei hunan a'i awen ar allor Cristionogaeth.

Ei *brif* weithiau ydynt ei *Awdlau* ar y "*Milflwyddiant,*" y "*Croeshoeliad,*" "*Holl-bresenoldeb Duw,*" "*Elias y Thesbiad,*" "*Garibaldi,*" a "*William Penn.*"

DETHOLIAD O'I AWDL AR "Y MILFLWYDDIANT."

O galon i galon, â'r dirgelwch ;
O deulu i deulu, rhy' dawelwch ;
O ddinas i ddinas, pâr ddiddanwch ;
O ynys i ynys, llef "Unionwch
Lwybr Naf hyd eithaf diffaethwch,"—clywir ;
Allorau Ion welir lle'r anialwch.

Salem sy' a'u heolydd—yn gwenu
Fel gwyneb y wawrddydd ;
Brenin a phawb, o'r uniawn ffydd,
Yn nofio'n awyr "nef newydd."

A mawr ydyw'r llwyddiant tymhorol—gyd
A gwen raglumiaethol ;
I gyd, y byd gwybodol,
O'i flaen a ddaeth fel un ddôl.

Ofer nid â llafur un dyn—daw'r gwlith
Drwy glawr a phob hedyn ;
Ac o'i ol, haul siriol, sy'n
Gwenu ar bob eginyn.

Mai a Hydref ymodro—i'r cymoedd
Mae'r cwmwl sy'n chwyfio ;
Trwy ogr aur, i ddyfrhau'r fro
Hyfrydlawn mae'n dwfr hidlo.

Y ddaiar fras, fel mam gymwynasol,
A'i gwedd ddifyr, a'i sawyr llysieuol,
Talu daioni i'r teulu dynol,
Yw deddf eu hanian ; o duedd fewnol,
Daw a'i gwenith digonol—o'r dyffryn,
Heb ysgellyn, yn benbwysig hollol.

**PARCH. HUGH C. PARRY (CEFNI), PROVIDENCE, LUZERNE CO., PA.**

Ymfudodd y Cymro cenedlgarol, y pregethwr rhagorol, a'r bardd medrus hwn, o Gymry i'r America yn Mehefin, 1870, a dechreuodd weinidogaethu i'r Eglwys Gymreig Fedyddiedig yn Providence, Pa., Gor. 4, 1870, lle mae eto yn barchus a defnyddiol. Nid oes eto ond ychydig o Gymry America wedi cael cyfleustra i'w weled, a'i glywed; ac nid ydynt yn gwybod ond ychydig am dano, er ei fod yn enwog a phoblogaidd yn Nghymru. Amser, a gwahanol amgylchiadau, a brawf ac a ddengys y dyn, "o ba radd y bo'i wreiddyn," a beth fydd ei wir gymeriad, a'i alluoedd meddyliol, yn enwedig yn America. Daliodd rhai y profiad tanllyd yn anrhydeddus. Methodd ereill. Mae pob pregethwr a bardd a ymfudodd i'r wlad newydd hon yn cael y fantais, neu yr anfantais, o ddechreu cyfnod newydd nodedig yn ei oes ei hun.

Ganwyd ef yn mhlwyf Cerigceinwar, Mon, G. C., Medi 20, 1826. Yr oedd ei rieni, Owen Parry, ac Elinor Owen, yn byw ar dyddyn o'r enw Tyddyn Sawdwr, plwyf Llangefni, Mon, lle y cafodd ei fagu yn dyner ganddynt. Cafodd elfenau ei ddysgeidiaeth yn Ysgol Wladol Llangefni. Dechreuodd bregethu yn Rhos-y-Meirch, Mon, dan arolygiaeth y Parch. David James, gweinidog yr eglwys Annibynol yn y lle enwog hwnw, yn ngwanwyn y flwyddyn 1845. Priodwyd ef â Miss Mary Ann Harding, merch y boneddwr parchus, William Harding, Ysw., Caer-yn-Arfon, gan y Parch. W. C. Williams (Caledfryn), yn nghapel Pendref, Caerynarfon, Awst 23, 1847. Urddwyd ef yn weinidog ar yr eglwys Annibynol yn Bagillt, swydd Fflint, Rhagfyr 26, 1848. Wedi gweinidogaethu gyda'r Annibynwyr hyd Hydref, 1850, ymunodd â'r Bedyddwyr yn Llangefni, ei dref wreiddiol, a bedyddiwyd ef yno, yn nghapel Ebenezer, Hydref 6, 1850, gan y Parch. David Roberts, gweinidog yr eglwys hono. Bu yn gweinidogaethu gyda y Bedyddwyr, mewn parch a llwyddiant, yn Dowlais, Bangor, Brymbo, Tal-y-bont, Llundain, a Chaerdydd, D. C., hyd nes yr ymfudodd i America, yn 1870.

Ni chefais y fraint erioed o'i glywed yn pregethu, ond clywais ei fod yn bregethwr synwyrgall, trefnus, a hyawdl, ac yn ddarlithydd nodedig fedrus a ffraeth. Mae yn ddyn lled fyr o gorffolaeth, a'i wallt yn britho; ei ben yn grwn ac yn gyflawn, a'i edrychiad yn ddwys-dreiddiol, ac nid yn wrol-ddewr; ei ysgogiadau yn araf, a'i lais yn fwyn, a'i barabliad yn eglur. Dyn hawddgar, a chyfaill siriol a didwyll ydyw. Yr oeddwn yn gydnabyddus â rhieni a pherthynasau parchus ei briod hoff. Buont yn golofnau cryfion dan achos yr Annibynwyr yn Nghaerynarfon, G. C. Nid oes ganddynt blant; ond y mae y ddau fel plant anwyl mewn diniweidrwydd a charedigrwydd.

Mae Cefni yn ysgolor gwych, ac wedi myfyrio Elfenau Gramadeg yr Iaith Gymraeg yn dda; a thrwy lafur mawr, a hir ymarferiad, wedi meistroli y cynghaneddion caethion yn y

Pedwar-ar-hugain o'r Mesurau Cymreig awdurdodedig. Urddwyd ef yn Ofydd yn Eisteddfod Rhuddlan, yn 1849—yn Dderwydd yn Eisteddfod Dowlais, yn 1851—ac yn Fardd yn Eisteddfod Abertawe, yn 1863. Ei brif weithiau barddonol ydynt: 1. Awdl ar Ddinystr Derwyddon Mon, a farnwyd yn ail oreu yn y Fenni, yn 1852. 2. Awdl, Maes Bosworth; ail oreu yn Llangollen, yn 1858. 3. Awdl, Cenedl y Cymry, ail oreu yn Aberdar, 1861. 4. Pryddest, ar Y Dychweliad o Babilon; buddugol yn Abertawe, 1863. 5. Cywydd i'r Goleuni; buddugol yn Utica, N. Y., Ionawr 1, 1871. Ysgrifenodd lawer o draethodau i'r "Greal," ac i'r "Seren Gomer," ar Athroniaeth Foesol, Siaradaeth, Martin Luther, &c., &c. Bu yn Feirniad ar Ryddiaeth a Barddoniaeth mewn amryw o Eisteddfodau mawrion yn Nghymru, ac yn America.

*Detholiad o'i Awdl ar y* "CIMERII," *yr hon a farnwyd yn* AIL OREU, *yn Eisteddfod Aberdar, yn* 1861.

ARDALYDD MON YN WATERLW, TU DAL. 29.

Ond ein Ardalydd, pen y Lluyddion,
Dra chywir eryr, drechau arwron;
Bu yn mroch, agwrdd Baun y Marchogion,
Yn rhoi galanas blin i'r gelynion;
Chwalai, mal gwrach-wehilion—wyr rhyfel,
Ac us i'w awel fyddai caseion.

Trwy y loes yn Waterlw—y daliodd
Yn deilwng o'i fawr enw;
I'w ffyddlonaf, lanaf lw,
Rhoe'i einioes, cyn torai hwnw.

Ei aelod roes dros ei wlad rydd—hybarch
Yn aberth ar nawn-ddydd;
Rhaid coffa, mai dyma'r dydd,
Y curwyd y CONCWERYDD!

Y Carw o Elba, o flaen Cawr Albion,
A ffodd i greigydd gelltydd gwylltion;
Ei wyneb guriai, a'i ben heb goron;
Ac Aerwyr Ewrob, a geir yr awrhon,
A'u mhawl i Ardalydd Mon—yn dyrchu
Y gwr fu'n pylu dig eirf Napoleon!!

Iwrch gwlad i'w hybarch glodydd
Disglaerwawr Golofn fawr fydd,
Lliw mynor, tra lli' Menai—
Coflon o'i orchestion chwai!

DAVID EDMUNDS, YSW. (INSPECTOR OF MINES), SHAMOKIN, NORTHUMBERLAND CO., PA.

Ganwyd ef yn Beaufort, Brycheiniog, D. C., Rhag. 6, 1822. Ymfudodd gyda'i rieni i America yn nechreu Awst, 1839; a bu fyw y rhan fwyaf o'i amser, wedi hyny, yn Tamaqua, Schuylkill Co., Pa. Collodd ei fam, a'i frawd, a dwy chwaer, a dau o blant un o'i chwiorydd, yn y llifeiriant ofnadwy a fu yno Medi 2, 1850. Bu farw Thomas Edmunds, ei dad, Mehefin, 1870, yn 69 mlwydd oed. Mwnwr oedd wrth ei gelfyddyd. Talodd sylw neillduol i Fwnyddiaeth am flyneddau lawer; dyna fu ei brif efrydiaeth. Mae yn fwnwr ymarferol a dysgedig. Dealla y wyddor a'r ymarferiad o weithio y glofeydd. Dan y gyfraith newydd a wnaed yn ddiweddar yn llywodraeth talaeth Pennsylvania, drwy bleidlais y bobl, a phenodiad y Llywydd enwog, JOHN W. GEARY, cafodd ei godi i'r swydd bwysig ac anrhydeddus o fod yn Archwiliwr y Gweithfeydd Glo (*Inspector of Mines*) yn siroedd Schuylkill, Dauphin, a Northumberland, Pa., yn 1870. Mae Mr. Edmunds yn Gymro cenedlgarol, ac yn llenor, a cherddor medrus. Mae ei brif swyddfa yn Shamokin, Pa. Derbynia $3,000 o gyflog blyneddol; ac y mae yn ddyn caredig a haelionus.

PARCH. J. VELINDRE JONES (A.), SUMMIT HILL, CARBON CO., PA.

Ganwyd ef yn mhlwyf Penboyr, Sir Gaerfyrddin, D. C. Efe yw yr ieuangaf o naw o blant John ac Ann Jones. Cafodd addysg dda. Bu mewn amryw o ysgolion gramadegol, a threuliodd bedair blynedd yn Athrofa Aberhonddu, D. C. Urddwyd ef yn fugail ar yr eglwysi Cynulleidfaol yn Jerusalem a Soar, Sir Fflint, G. C., Gor. 15, 1864. (Gwel y *Dysgedydd* am 1866). Tiriodd yn New York, America, y tro cyntaf, Medi 11, 1868. Bu yn gweinidogaethu yn yr eglwys Annibynol, yn y Tabernacl, Delafield, Waukesha Co., Wis., o Tachwedd 15, 1868, hyd Hydref 3, 1869, pryd yr aeth yn ol i Gymru. Dychwelodd i'r wlad hon eilwaith Awst 29, 1870. Dechreuodd ar ei lafur gweinidogaethol yn eglwys Annibynol gref a pharchus Ashton, Summit Hill, Pa., Tach. 13, 1870, lle mae eto yn gysurus a defnyddiol. Priododd â Miss James, merch Robert James, Ysw., tyddynwr parchus yn Penymynydd, Steuben, Oneida Co., N. Y., yn haf 1871. Dyn lled ieuanc, o daldra cyffredin, yw Mr. Jones; ac y mae yn bregethwr melus, difrifol, ac effeithiol, llawn o deimlad crefyddol, a thra hoff o adrodd hanesion er egluro ei faterion. Mae yn fugail da, ac yn bregethwr ieuanc gobeithiol.

MR. LEWIS EVANS (DARENYDD), GYNT O SUMMIT HILL, PA.

Brodor o Pendaren, Merthyr, D. C., yw efe. Ymfudodd i'r wlad hon o New Tredegar, D. C., yn 1868, a sefydlodd yn Summit Hill, Pa. Daeth ei rieni yno yn fuan ar ei ol. Mae yn

ddyn ieuanc hardd a bywiog o ran ei gorff, ac yn fardd ieuanc gobeithiol. Rhai o'i brif weithiau barddonol ydynt, y Rhiangerdd, "Gwenddolen Glan Tywi;" a'i Alargerdd ar ol marwolaeth ei dad, yr hon a gyhoeddwyd yn y *Cenhadwr*. Dechreuodd bregethu yn eglwys Annibynol Ashton, Pa., yn y fl. 1870; ac yn haf y fl. 1871 cafodd dderbyniad i'r "*Preparatory School*," cysylltiedig â'r "Western Reserve College," yn Hudson, Summit Co., Ohio, lle y mae yn awr.

### MR. MORGAN EVANS (MEURIG AMAN), SUMMIT HILL, PA.

Ganwyd y bardd ieuanc awenyddol hwn yn Gwynfe, swydd Gaerfyrddin, D. C. Mae yn un o saith o blant Evan a Mary Evans, y rhai sydd yn awr yn huno yn mynwent llan y plwyf uchod. Dyn lled fyr o gorffolaeth, a bywiog ei ysgogiadau, ydyw. Bu yn aros am lawer o amser yn Middlesboro, Lloegr. Mae yn fedrus fel llenor, bardd, a cherddor. Cyfansoddodd lawer mewn rhyddiaeth a barddoniaeth; a bu yn fuddugol mewn amryw o Eisteddfodau yn Ngogledd Lloegr, Gwent, a Morganwg, Cymru. Cyhoeddodd ugain o bennodau ar "Hanes y Cymry yn Lloegr," yn y *Gwladgarwr*. Ar ei ymadawiad o Middlesboro i'r America, Ebrill 28, 1868, gwnaed tysteb anrhydeddus iddo, yn cynnwys oriawr aur, cadwen aur, a chofeb, gwerth uwchlaw $250, neu £50. Y wobr gyntaf a enillodd yn y wlad hon oedd $50 am y Traethawd goreu ar "Ymfudiaeth Cenedl y Cymry i'r Unol Dalaethau, yn nghyd a'u Dylanwad." Beirniad—Parch. Morgan A. Ellis (T. C.) Pryddest ar "Y Glowr," buddugol yn Eisteddfod Mahanoy City, Pa., Nadolig, 1869. Traethawd ar "Elfenau Llwyddiant," buddugol yno Rhagfyr 25, 1870. Beirniad—Parch. Fred. Evans (Ednyfed), New York. Priododd â Miss Sarah Mathews (boneddiges grefyddol a synwyrgall), merch Mr. D. Mathews a'i briod, *storekeeper*, Ashton, Pa., Awst 16, 1869. Barnodd Eos Glan Twrch y gân ganlynol yn oreu o wyth o gyfansoddiadau yn Eisteddfod Hyde Park, Pa.

"YR EISTEDDFOD."—Ton, "*Glan Meddwdod Mwyn.*"

**Amerig, ein Hiaith, a'n Mawredd,**
**Ein Deflon, ein Hion, a ein Hedd.**

1. Mae deflon hen Gymru, gwlad hoff ein rh'aint ni,
A'i llu hen arferion yn anwyl gan I;
Mae clywed hoff gerddi gwladgarol a llon,
Yn enyn anwyldeb a serch dan fy mron:

CORAWD—Ymlynwn, Frythoniaid llengarawl, tra'n fyw,
Wrth foes, llen, a'n breiniau, ein gwyl hoff, a'n Duw;
Wrth foes, llen, a'n breiniau, ein gwyl hoff, a'n Duw.

2. **Ymffrostied cenhedloedd ieuengach na ni,**
**Yn wychder eu gwleddoedd, yn nghryfder eu bri;**
**Mae hil Penn a Roger yn awr yma'n nghyd,**
**Yn dal i gydnoddi prif ddefod y byd:**
**Ymlynwn, Frythoniaid llengarawl, tra'n fyw, &c.**

3. **Yspeilwyr annynol ddygasant ein gwlad,**
**Ond byw'r Iaith a'r Awen, a'n deflon gwir fad,**
**Ar diroedd Columbia, yn rhydd ac yn llon,**
**Byth ffyned ein llwyddiant a'n hedd o fewn hon:**
**Ymlynwn, Frythoniaid llengarawl, tra'n fyw, &c.**

**Meurig Aman.**

### MR. JOSIAH JONES (JOSIAH BRYNMAIR), GOMER, ALLEN CO., OHIO.

Mae y diacon ffyddlon, a'r bardd hwn, yn fab i'r "cywir, a'r gonest, a'r diwyd, Josiah Jones, Braichodnant, blaenor y gân am lawer o flyneddau," yn Hen Gapel Llanbrynmair, Maldwyn, G. C. Ganwyd ef yn yn Braichodnant, Gorphenaf 4, 1807. Enw ei daid (tad ei dad), oedd William Jones, o'r Tymawr, Llanbrynmair, yr hwn a wnaeth ran o'i dy yn addoldy i'r Annibynwyr, ar ddyfodiad y Parch. Edmund Jones, o Bontypool, D. C., gyda'r enwog Lewis Rees (tad yr anfarwol Dr. Abraham Rees), yno yn 1734. (Gwel "Hanes Eglwysi Annibynol Cymru," gan T. Rees, D. D., Abertawe, a J. Thomas, Liverpool—Cyf. I, t. d. 244). Derbyniwyd ef yn aelod o'r eglwys Annibynol yn Hen Gapel Llanbrynmair gan y diweddar a'r anwyl weinidog, John Roberts, Mawrth 9, 1824. Priododd â Mary, merch Thomas Hughes, Bryncoch, Ebrill 7, 1833. Cawsant wyth o blant, ac y mae saith yn fyw. Yr oedd hen dad cu ei briod, sef Ezeciel Hughes, yn cynorthwyo ei dad cu, William Jones, i ddechreu yr achos Ymneillduol yn Llanbrynmair. Bu farw ei fam pan oedd yn 5 mlwydd oed, a'i dad a fu farw Awst, 1841, a chyhoeddwyd ei bregeth angladdol yn Llyfr J. R. Ar farwolaeth ei dad, dewiswyd ef yn ddiacon yn hen eglwys luosog Llanbrynmair, a chyflawnodd hi yn ffyddlon hyd ei ymadawiad i America, yn Awst, 1850. Daeth ef a'i deulu, gyda lluoedd ereill, yn ddyogel i Gomer, Allen Co., Ohio, erbyn Hydref 5, 1850. Sef-

ydlodd Josiah Jones a'i deulu ar dyddyn bychan, hardd, o'u heiddo eu hunain, oddeutu milldir a haner i'r de o gapel Gomer, lle maent eto yn dra chysurus. Yn fuan wedi hyny dewisodd yr eglwys luosog a gweithgar hono ef yn un o'i diaconiaid, a chyflawnodd hi yn ffyddlon hyd yn awr. Mae ganddo lawer iawn o gymhwysderau i lenwi y swydd bwysig hono, a swyddau ereill, yn yr eglwys. Mae yn ddyn gwybodus, yn Gristion duwiol, yn dra hynaws a phwyllog, ac yn ddiwyd a gweithgar. Yr oedd efe yn sefyll yn uchel yn marn a chymeradwyaeth hen eglwys Llanbrynmair; ac y mae yn barchus a defnyddiol iawn eto yn eglwys Gomer, Allen Co., Ohio.

Dyn o daldra cyffredin, a lled eiddil ei gyfansoddiad, yw efe. Mae ganddo ben mawr cyflawn. Mae ei dalcen yn llydan ac uchel, ei edrychiad yn araf-dreiddiol, ei lais yn fwyn a hyglyw, a'i ysgogiadau yn araf. Er ei fod yn awr yn 64 mlwydd oed, a'i farf a'i wallt wedi gwynu, a llawer o hono wedi ei golli, nes y mae yn gorfod gwisgo *berwig*—mae yn lled gryf a bywiog eto, ac yn aml yn gweithio ei gelfyddyd fel saer coed.

Barddoniaeth oedd prif destyn ei fyfyrdod er yn ieuanc iawn; ac er yr holl anfanteision a gafodd, oblegyd gofalon bydol, a phethau ereill, trwy ei awydd cryf, a'i ddiwydrwydd diflino, daeth yn llenor da, ac yn fardd gwych, yn enwedig fel emynwr a phryddestwr. Mae hefyd yn gerddor ac yn draethodwr medrus. Cyhoeddwyd llawer iawn o'i weithiau barddonol a rhyddieithol yn y "Dysgedydd," yn Nghymru, ac yn y "Cenhadwr," yn America, dan yr enw Josiah Brynmair.

## WILLIAM JONES, YSW., TAWELFAN, GOMER, ALLEN CO., OHIO.

Mae yr hynafgwr duwiol, a'r diacon parchus hwn, yn deilwng o goffadwriaeth yn y llyfr hwn. Ganwyd ef yn Llanbrynmair, G. C., yn Mehefin, 1783, a bedyddiwyd ef ar y 15fed o'r un mis, gan y Parch. Richard Tibbot, gweinidog yr Hen Gapel. Mae yn awr yn 88 mlwydd oed. Enwau ei rieni oedd David a Mary

Jones. Yr oedd ei dad yn fab i William Jones, o'r Tymawr, yr hwn a fu yn noddwr i'r achos crefyddol Ymneillduol ar ei gychwyniad cyntaf, yn amser Edmund Jones, a Lewis Rees, yn 1734. Efe oedd yr un y bu Lewis Rees yn *ysgrifenu* gweddi deuluaidd iddo; ac wrth iddo ddarllen hono ryw dro, diffoddodd y ganwyll; aeth yntau yn mlaen heb oleuni, ac ni bu arno eisiau goleuni canwyll byth ar ol hyny i weddio. (Gwel Hanes Lewis Rees, gan J. R.) Bydd y *Tymawr*, yn Llanbrynmair, yn enwog byth. Gwelais y lle, ac ystafell y capel cyntaf a wnaed ynddo. Saif yn agos i'r ffordd a'r afon, o dan y bryniau, nid yn mhell o'r "Diosg Ffarm," lle y ganwyd ac y magwyd yr enwogion S. R. a J. R. Mae Duw wedi bendithio cenhedlaeth yr hen William Jones. Adwaenwn Mr. Richard Jones, o'r Tymawr (brawd i W. J. y traethwyf ei hanes yma), a'i briod anwyl (chwaer i S. R.); rhai nodedig grefyddol a haelionus oeddynt: ac er eu marw hwy, mae eu plant eto, sef William Jones, Cwmcarnedd Isaf, Llanbrynmair; a John R. Jones, Gomer, Ohio, yn dilyn eu llwybrau.

Derbyniwyd William Jones (Tawelfan), yn aelod o'r eglwys Annibynol yn Hen Gapel Llanbrynmair, gan y Parch. John Roberts, pan oedd tua 25 mlwydd oed (tua'r flwyddyn 1808), a neillduwyd ef yn ddiacon yn yr eglwys hono yn 1820, yn amser gweinidogaeth yr un gwr addfwyn ac enwog. Cyflawnodd ei ddyledswyddau yn ddiwyd a siriol; ac er ei fod wedi myned yn "hen lanc" cyn priodi, yr oedd yn eithriad nodedig i'r rhan fwyaf o hen lanciau y byd o ran ei sirioldeb, a'i gyfeillgarwch, a'i fywiogrwydd, a'i haelioni at bob achos da, a'i deimlad crefyddol, a'i barodrwydd i gydweithredu yn unol ac anwyl a'i gyd-swyddogion, ei

weinidog, a'r eglwys. Annibynwr egwyddorol a selog ydyw yntau, fel Josiah Jones. Pan oedd tua 46 ml. oed, priododd â Mary, merch Thomas Evans, Ty'nrwtra, Llanbrynmair (llawer ieuangach nag ef), un o'r merched mwyaf cryf a glandeg, ac un o'r gwragedd rhinweddol sydd wir deilwng i'w rhestru gyda y gwragedd duwiol a ffyddlon hyny a nodir gan Paul yn ei Epistol at y Rhufeiniaid, pen. xvi; ac yn ei lythyr at y Philipiaid iv. 3. Rhodd neillduol Duw i William Jones, Tawelfan, oedd hon. Mae yn meddu synwyr cyffredin cryf, a gwybodaeth ysgrythyrol helaeth, calon haelionus, amynedd mawr, tynerwch mam, doethineb a gofal, a diwydrwydd gwraig anwyl, a theimladau gwir grefyddol. Deallodd ei ffordd, a chydweithredodd âg ef yn hollol unol mewn pethau bydol a chrefyddol. Nid rhyfedd iddo ef ei galw yn "Malan anwyl." Mae yn ei charu ac yn ei pharchu fel ei wraig hoff yn ei deulu, ac yn y cyhoedd hefyd; mae hithau yn "ymgeledd gymhwys" iddo yntau. Ganwyd iddynt dri o blant hoff yn Tawelfan, G. C., sef Richard Jones, yr hwn sydd yn awr yn *feddyg* enwog yn Gomer, Allen Co., Ohio; a William Jones, yr hwn a briododd un o ferched Gwilym Williams, Ysw., ac sydd dyddynwr parchus yn yr un ardal; a Mary Jones, yr hon sydd ferch ieuanc landeg, a gwir grefyddol—yn ddelw berffaith o'i mam. Tyddyn mawr oedd *Tawelfan,* yn agos i ysgoldy y *Bont,* yn Llanbrynmair; a bu William Jones a'i briod yn noddwyr haelionus i'r achos yno am lawer o flynyddau. Bum yno yn lletya gyntaf yn amser *agoriad* yr ysgoldy hwnw, tua'r flwyddyn 1844, pan oedd y plant yn ieuainc iawn; ac nid anghofiaf byth eu caredigrwydd a'u haelioni. Credais y pryd hyny eu bod yn deulu gwir grefyddol a dedwydd, ac nid wyf wedi cael achos i newid fy marn am danynt eto. Ymfudas-

ant, gyda lluoedd eraill, o Lanbrynmair i America, Mai 2, 1848. Nid anghofir y diwrnod hwnw yn hir yn yr ardal hono. Sefydlasant yn ardal Gomer, Ohio, yn y gwanwyn canlynol. Prynasant dyddyn yno, a galwasant ef *Tawelfan*, er cof am eu hen gartref yn Nghymru. Bum yn lletya yno hefyd yn nghanol Rhagfyr, 1851, a chefais hwynt yr un yn eu caredigrwydd, a'u teimladau crefyddol. Hir gofir yr ymweliad hwnw genyf fi a hwythau, a lluoedd ereill yn Gomer. Fel hyn yr ysgrifenodd Josiah Jones:—"Bu eu dyfodiad i ardal Gomer yn foddion i adnewyddu ac i godi yr achos crefyddol yma i gryn enwogrwydd; a diau y bydd effeithiau a dylanwadau teimladau, a gweddiau, a bywiogrwydd, a haelioni, a ffyddlondeb William Jones, Tawelfan, a'i deulu, yn parhau yn yr ardal a'r byd, nes rhoddir ef i'w blygu fel llyfr, yr hwn a ddarllenir yn yr oes dragywyddol." Mae ef a'i deulu, er ys blyneddau, wedi symud i'w palasdy newydd hardd, ger y capel; ac y mae swyddfa y Dr. Richard Jones, a'r Dr. Davies, gerllaw yno, yn y pentref.

Dyn byr o gorffolaeth yw William Jones, ond nodedig fywiog ei ysgogiadau. Mae ganddo ben crwn, a gwallt hir, ond yn britho er ys blyneddau; llygaid siriol, trwyn hir, main, llais eglur; ac y mae yn dueddol i godi ei ddwylaw, i agor ei enau, i grafu y llawr â'i draed—o droi yn chwimwth, ac o chwerthin yn llawen ac uchel, ar ol siarad ar ryw bwnc crefyddol, a thraethu ffraeth-eiriau gyda'i gyfeillion. Gallai dieithr-ddyn dybied, ar yr olwg gyntaf arno, mai rhyw hen ddyn diniwed, haner-call, ydyw; ond arosed yn ei gymdeithas, yn ei dy, ac yn y capel, am rai dyddiau, er cael mantais i'w ddeall yn drwyadl—bydd ei fuchedd dduwiol, ei ymddiddanion a'i deimladau crefyddol, ei wybodaeth dduwinyddol ar brif bynciau yr efengyl, ei sêl dros lwyddiant

achos Iesu, ei haelioni siriol, a'i *weddiau nodedig*, yn sicr o'i argyhoeddi yn fuan, mai dyn da, a Christion enwog ydyw. Mae ei ddylanwad a'i barch yn ddirfawr yn yr eglwys, ac y mae ei enw yn anwyl gan bawb sydd yn ei adnabod. Mae ei weddiau yn *nodedig* mewn geiriau, teimlad, taerineb, ffydd, a dylanwad. Wrth wrando arno yn gweddio, yn ei dy ac yn y capel, gallech dybied ei fod yn *rhy hyf* ar y Bod Anfeidrol, ac yn *rhy bersonol* pan fyddo yn gweddio drosoch chwithau. Tybiwch y bydd yn siarad yn *wyneb yn wyneb â Duw*, ac yn *eich cyflwyno* chwithau i'w sylw neillduol, gan draethu eich da a'ch drwg, a'ch holl angenion wrtho. Gwna i chwi chwerthin ac wylo bob yn ail, nes y byddwch yn teimlo yn *rhyfedd;* ond yn llawer gwell, a mwy duwiol. Yr wyf yn cofio rhai o ymadroddion *neillduol* ei weddiau; ond nid wyf yn caru eu cyhoeddi, rhag i neb gael achlysur i'm beio am hyny. Byddai yn werth i chwi fyned ugain milldir i wrando arno ef yn gweddio. Bu yn weithgar a diwyd gyda phethau bydol am flyneddau. Yr oedd yn *gyfoethog* yn Nghymru, ond y mae ef a'i deulu yn llawer mwy goludog yn awr. Er ei fod yn awr yn 88 mlwydd oed, mae yn darllen ac yn myfyrio llawer bob dydd; yn myned i'w wely yn gynar, yn codi yn foreu, ac yn mynychu yr addoliad cyhoeddus. Areithia a siarada yn gyhoeddus weithiau, nes peri i bawb deimlo ac wylo. Ond y mae yn awr yn dechreu teimlo effeithiau henaint, ac yn caru mwy o lonyddwch. Mae arno eisiau cael byw nes cyrhaedd ei 100 mlwydd oed—hyd y flwyddyn 1883. Deuddeng mlynedd sydd arno eisiau eto. Gall fyw mwy na hyny. Hir oes i'r hen bererin duwiol a ffyddlon; marwolaeth ddedwydd, a gogoniant tragywyddol yn y byd a ddaw. Mae ef yn sicr o farw fel y bu fyw. Pan fydd ef farw, caiff ei briod a'i blant, a'r eglwys yn

Gomer, golled ddirfawr; a bydd William Jones, Tawelfan, pan oddiwedda y llawenydd nefol, yn sicr o *dynu sylw* angelion a saint, wrth ei weled yn arfollu ei Waredwr mawr, ac yn ei folianu am rinwedd ei waed.

PARCH. SEM PHILLIPS (A.), STEUBEN, REMSEN P. O., ONEIDA CO., N. Y.

Mab ydyw ef i Thomas a Sarah Phillips, o Penhill, plwyf Llan-newydd, swydd Gaerfyrddin, D. C. Ganwyd ef Ionawr 21, 1826. Derbyniwyd ef yn aelod o'r eglwys Annibynol yn Bwlchnewydd, yn yr un sir, gan y Parch. Owen Owens, pan oedd tua 14 mlwydd oed. Dechreuodd bregethu yno pan yn 16 mlwydd oed. Bu am dair blynedd yn ysgolion Ffrwdyfal, a Narberth. Derbyniwyd ef i Goleg Aberhonddu yn 1843. Cafodd ei urddo yn Llangynidr, swydd Frycheiniog, D. C., yn y flwyddyn 1847. Symudodd oddiyno i Lantrisant, Morganwg, D. C., yn 1856, ac oddiyno i Steuben, Oneida Co., N. Y., yn 1866, lle mae eto yn barchus a defnyddiol, yn cyd-weinidogaethu a'r Parch. Robert Everett, D. D., Golygydd enwog y *Cenhadwr*, yn Hen Gapel Steuben, a Phenymynydd. Mae yn ddyn cryf, ac yn bregethwr da. Cyhoeddodd Hanes yr Eglwys Annibynol yn Steuben yn y *Cenhadwr* am 1871.

THOMAS B. MORRIS, YSW. (GWYNEDDFARDD), SCRANTON, LUZERNE CO., PA.

Dyn bychan ac eiddil o gorffolaeth yw y llenor coethedig, a'r bardd awenyddol, a'r golygydd medrus hwn. Ganwyd ef yn Llanelltyd, ger Dolgellau, Meirionydd, G. C., yn y flwyddyn 1825. Enwau ei rieni oedd Evan Morris a Margaret Barrow. Cafodd lawer o addysg yn moreu ei oes yn yr ysgolion dyddiol, ac wedi hyny yn Athrofa yr Annibynwyr yn y Bala. Urddwyd ef yn weinidog yn yr eglwys Annibynol yn Rhosllanerchrugog, Sir Ddinbych, G. C., pan oedd yn 21 mlwydd oed. Bu yno yn dra pharchus, poblogaidd, a defnyddiol am bedair blynedd. Yr oedd y pryd hyny yn un o'r pregethwyr mwyaf trefnus a blodeuog. Symudodd

oddiyno i'r Rhyl, Sir Fflint, lle y bu yn gweinidogaethu am beth amser. Wedi hyny bu yn cadw ysgolion dyddiol, ac yn pregethu gyda y Bedyddwyr, mewn gwahanol fanau yn Nghymru. Ymfudodd i America yn haf y flwyddyn 1858. Bu am ychydig amser yn Carbondale, Pa., ac yn Oneida Co., N. Y. Yn y flwyddyn 1859, aeth i ddinas New York, ac oddiyno i Utica, N. Y.; ac o'r flwyddyn hono hyd Mehefin, 1869 (am yspaid 10 mlynedd), bu yn *un o olygyddion* y *Drych;* a chyflawnodd ei waith yn ddoeth ac yn fedrus; tynodd ei ysgrifau golygyddol sylw mawr, a chawsant gymeradwyaeth uchel Cymry America. Newidiodd chwaeth, prydferthodd wyneb, ac adnewyddodd nerth, anrhydedd, a phoblogrwydd y *Drych* i raddau ehelaeth, yn enwedig yn y blyneddau olaf y bu yn ei olygu. Yn haf y flwyddyn 1869, etholwyd ef gan y Pwyllgor parchus i'r swydd anrhydeddus a chyfrifol, o fod yn *Brif Olygydd Baner America,* yr hon a gyhoeddir dan nawdd y Pwyllgor, ac arolygiaeth y Cymro dysgedig a thalentog, W. S. Jones, Ysw., yn Scranton, Pa. (Box 174 P. O.) Mae golygiaeth Mr. Morris, a threfnyddiaeth Mr. Jones, wedi rhoddi boddlonrwydd mawr i'r Pwyllgor, ac i'r Cymry yn gyffredinol; ac y mae cylchrediad y *Faner* yn helaethu bob blwyddyn, a'i dylanwad yn ddirfawr ar Gymry y wlad hon. Mae T. B. Morris yn *feirniad* medrus, ac yn fardd galluog, yn llawn tlysni a thynerwch. Rhâgora fel pryddestwr. Enillodd lawer o wobrwyon yn Eisteddfodau mawrion Cymru, ac yn America. (Rhoddaf ddetholion, a gwnaf nodiadau ar ei weithion barddonol yn yr *Ail Gyfrol* o "HANES CYMRY AMERICA.")

### J. C. ROBERTS, YSW., GOLYGYDD Y "DRYCH," UTICA, ONEIDA CO., N. Y.

Dyn glandeg, siriol, meddylgar, a dysgedig, yw y gwr parchus hwn. Cafodd ei ddwyn i fyny yn nhref Dinbych, G. C., lle y bu yn gwasanaethu fel athraw yn yr Ysgol Frutanaidd. Yn 1860 bu yn y Normal College, yn Bangor, lle y cafodd ei drwyddedu fel ysgolfeistr medrus. Am bum' mlynedd wedi hyny bu yn cadw ysgolion yn Aberffrwd, Sir Aberteifi, a Prion, Sir

Ddinbych. Ymfudodd i America yn niwedd y flwydd-1866, a threuliodd y rhan fwyaf o'i amser fel *book-keeper* yn ninas New York, hyd nes yr ymaflodd yn y gorchwyl pwysig ac anrhydeddus o arolygu y *Drych*, yn Mawrth, 1869, yr hwn a gyhoeddir gan ein cydwladwr enwog, J. Mather Jones, Ysw., ac a argreffir gan Thomas J. Griffiths, Ysw., yn Utica, Oneida Co., N. Y. Mae arolygiaeth J. C. Roberts, a golygiaeth Joseph William Nichols, Ysw. (Neifion), un o'n beirdd enwog a chadeiriol, yn y blyneddau diweddaf, wedi bod yn alluog i barhau enwogrwydd a dylanwad y *Drych*, ac i sicrhau ei gylchrediad a'i uchel gymeradwyaeth yn mhlith Cymry America yn gyffredinol. (Cyhoeddaf hanes Neifion, a detholion o'i brif weithion barddonol, yn yr *Ail* Gyfrol). Mae J. C. Roberts wedi enill llawer o wobrwyon am draethodau buddugol yn Eisteddfodau Cymru; ac am y prif draethawd yn Eisteddfod Utica, N. Y., Ion. 1, 1868.

## CYMRY PHILADELPHIA, PA.

Addawodd y Cymro twymgalon, a'r cyfreithiwr dysgedig ac enwog, *Horatio Gates Jones, Ysw.*, 133 South 5th St., Philadelphia, Pa. (yr hwn yw Llywydd Cymdeithas Dewi Sant yno), ysgrifenu erthygl gyflawn, yn Saesonaeg, ar Hanes Cymry Philadelphia, i mi; ond ni ddaeth i law yn brydlon i'w chyhoeddi yn y gyfrol hon; cyhoeddaf hi yn y gyfrol nesaf. Ond daeth yr hanes byr canlynol i'm llaw yn amserol oddiwrth y Cymro selog, David Jones, Ysw., Rhif 539 Wharton St., Phila., Pa., yr hwn, yn nghyd a'i briod garedig, a fu yn lletygar a charedig i weinidogion (Cymreig) yr efengyl, a lluoedd ereill, am flyneddau yno. Fel hyn yr ysgrifena efe yn ei lythyr, dyddiedig Awst 23, 1871:

"Annichon fyddai i mi roddi hanes cywir i chwi o'r holl Gymry sydd yn byw yn y ddinas hon yn awr, o herwydd barnwyf fod llawer yn byw, ac yn marw yma, heb gymdeithasu â'r Cymry. Dro yn ol bum yn taflu rhyw gipolwg dros yr hen sefydlwyr, a'r rhai a ddaeth yma yn ddiweddarach; ac yr wyf yn casglu fod yma tua phedwar neu bum' cant yn medru siarad yr hen

iaith anwyl—y Gymraeg. Tua chan' mlynedd yn ol, yr oedd yn cael ei siarad yn groyw ar yr heolydd ac yn y marchnadoedd; ond yn bresenol nid oes dim i'w glywed ond '*how do you do,*' pan fyddo llawer o'r Cymry yn cyfarfod eu gilydd. Mae yma nifer luosog o *hiliogaeth* y Cymry, a llawer o honynt yn ymffrostio yn eu gwaedoliaeth. Ychydig fisoedd yn ol bu farw y Prif Farnwr (*Chief Justice*), ELLIS LEWIS, Ysw. Bum yn ymddiddan ag ef lawer gwaith. Dywedai mai *Cymro* oedd o galon, er na fedrai siarad na deall y Gymraeg. Yr oedd ganddo *hen Feibl Cymraeg,* tua 150 mlwydd oed, yr hwn a ddygodd ei hynafiaid gyda hwynt o Gymru. Tua dwy flynedd yn ol, tynwyd fy sylw yn un o'r papyrau dyddiol yma at ddinystriad, trwy dân, yr Hen Bobty Cymreig (*the Old Welsh Bakehouse*), yr hwn a safai tua chwe' milldir o'r ddinas, ar lan afon y Delaware. Yr oedd yr hanes fel y canlyn:—'Adeiladwyd y lle gan Gymro o'r enw John Thomas, o Ddeheudir Cymru, yn mhell cyn y Chwildroad Americanaidd, fel gwesty a phobdy. Bu y Cymro hwnw o gymhorth mawr i'r *Fyddin Americol;* yr oedd yn medru pobi a chrasu sachaid o flawd ar unwaith i'r milwyr. Llawer gwaith y bu y Cadflaenor GEORGE WASHINGTON yn nhy y Cymro hwnw, ac yr oedd yn hoff iawn o'i gymdeithas. Drwg genym heddyw gofnodi dinystriad yr hen bobty hwnw trwy dân. Dylasai fod yn gofgolofn i ni fel Americaniaid, am y gwasanaeth a wnaeth pan oeddym mewn cyfyngder.' Dyna derfyn yr hanes.

"YR EGLWYS GYMREIG.—Cynhelir eto gyfarfodydd, a dygir y moddion yn mlaen yn yr iaith Gymraeg, mewn ystafell fechan, ar gornel heolydd Twelfth & Filbert, yn nghanol y ddinas. Y brawd *Rosser,* o Ben-y-cae, Sir Forganwg, D. C., sydd yn awr yn pregethu iddynt.

"CYMDEITHAS DEWI SANT.—Mae rhif yr aelodau tua 70 yn awr. Ffurfiwyd hi tua'r flwyddyn 1810, er cynorthwyo yr ymfudwyr tlodion a ddeuant o Gymru, i gyrhaedd pen eu teithiau yn y Talaethau. Mae rhai o brif ddynion ein dinas yn aelodau ynddi; ac y mae y *fynwent* sydd yn perthyn iddi wedi ei symud i'r darn

prydferthaf o *Mount Moriah Cemetery*, yr hon a saif ar fryn uchel tu allan i gyffiniau y ddinas. Buwyd yn ofalus i symud gweddillion yr holl farwolion Cymreig oedd yn yr hen fynwent, i orwedd yn dawel yn y fynwent newydd, hyd ganiad yr udgorn mawr. Mae yr aelod hynaf o'r Gymdeithas, sef yr hybarch dad, a'r Cymro mwyaf cenedlgarol, *Samuel Jenkins, Ysw.*, wedi symud oddiyma, yn ddiweddar, a myned i dreulio gweddill ei ddyddiau at ei fab, i San Francisco, California. Mae yn bresenol tua 80 mlwydd oed. Daeth ef gyda'i rieni yma o Castell Newydd Emlyn, D. C., yn y flwyddyn 1800. Yr oedd yn aelod parchus gyda y Bedyddwyr. Yr oedd yn barod i aberthu pob peth dros *Gymry* a *Chymraeg*. Tylododd ei hunan wrth gynorthwyo a chyfoethogi ereill. Ysgrifenodd lawer i'r papyrau Saesnig a Chymreig, er lles a dyrchafiad ei genedl. Cyhoeddwyd llawer o'i ysgrifau yn *Hanes Cymry* '76, gan y diweddar Dr. Alexander Jones. Dymunwyf i'r hen bererin lawer o gysur a dedwyddwch yn niwedd ei oes, cyn iddo ehedeg i'w orphwysfa nefol, at ei Waredwr, a'i hen gyfeillion."

**PARCH. D. T. PHILLIPS (B.), ENON BAPTIST CHURCH, PHILA., PA.**

Mae y llenor dysgedig hwn yn weinidog enwog gyda y Bedyddwyr Americanaidd yn Philadelphia. Ganwyd ef yn Tredegar, swydd Fynwy, D. C., Rhagfyr 19, 1842. Mae yn fab i'r Parch. Thomas Phillips, T. C., Cwmbach, Aberdar, gynt o Tredegar. Bedyddiwyd ef pan yn dra ieuanc gan y diweddar Barch. T. E. James, A. C., Glynnedd, Morganwg, pan yn byw yn nghymydogaeth Aberdar. Symudodd i Gaerdydd, a dechreuodd bregethu yn y Tabernacl, lle y magwyd enwogion lawer, a lle y gweinidogaethodd yr anfarwol Christmas Evans, David Jones, Robert Pritchard, a lluaws ereill, y rhai ydynt wedi tewi yn y bedd. Pan y symudodd y Parch. J. Emlyn Jones, LL. D., i Gaerdydd o Benycae, aeth Phillips a'i lythyr i'w eglwys ef yn Salem, Caerdydd, o'r hon yr aeth i Athrofa Hwlffordd, swydd Benfro, lle y treuliodd dair blynedd yn llwyddianus. Ordeiniwyd ef yn weinidog yn Llanilltyd-fawr, Morganwg, lle y pregethai yn Gymraeg a Saesonaeg. Wedi hyny bu yn gweinidogaethu i'r eglwys Fedyddiedig Saesnig yn Nghaerodor (Bristol) yn agos i dair blynedd. Yn niwedd Ebrill, 1869, tiriodd yn Efrog Newydd, a phregethodd gyda derbyniad mawr yn un o eglwysi ardderchocaf y ddinas hono, a elwir South Church, 25th St., lle y gwahoddwyd ef i dreulio

tri mis ar brawf, yr hyn a wrthododd. Dan arweiniad Rhagluniaeth y Nef, daeth i ddinas Philadelphia, Pa., lle yr oedd gan Arglwydd y cynhauaf faes helaeth iddo i lafurio. Ar ol pregethu un Sabboth yn Enon Baptist Church, ar heolydd 20th & Oxford, gwahoddwyd ef yn y modd mwyaf unfrydol a thaer i ddyfod yn fugail arnynt. Cydsyniodd. Ymaflodd yn ei waith o ddifrif, gyda gallu a sel y Cymro efengylaidd, a bendithiodd yr Arglwydd ei lafur diflino, nes yr ychwanegwyd *pedwar ugain* o eneidiau at rifedi yr eglwys, drwy fedydd, llythyrau, ac adferiad, yn yspaid dwy flynedd. Y mae enw Mr. Phillips yn adnabyddus yn y byd *llenyddol.* Enillodd amryw o wobrwyon gwerthfawr mewn eisteddfodau yn Nghymru, dan feirniadaethau Caledfryn, Cynddelw, Huw Arwystl, Dr. Rees, Abertawe, Dafydd Morganwg, &c. Nid yw efe eto wedi dyfod i gyhoeddusrwydd yn Eisteddfodau Cymry America, am fod gofalon pwysig ei eglwys luosog ac anrhydeddus yn Philadelphia, gyda phethau pwysig ereill, wedi cymeryd i fyny, bron yn llwyr, ei amser gwerthfawr. Ond ysgrifenodd a chyhoeddodd, yn haf y flwyddyn 1871, un gyfrol hardd a chynnwysfawr, yr hon a elwir, "THE HEROES OF FAITH; *being a Series of Discourses on the Saints mentioned in the Eleventh Chapter of Hebrews.*" Cynnwysa 23 o'i bregethau campus. Mae ei iaith yn goethedig, ei syniadau yn efengylaidd, ei ddarluniadau yn fywiog, a'i resymau yn gryfion. Pris y gyfrol yw $1.25, wedi ei rhwymo yn hardd. Cynnwysa 207 o du dalenau. Gellir ei chael gan yr awdwr, neu gan y cyhoeddwyr, William Flint & Co., No. 26 South Seventh St., Philadelphia, Pa. Carem weled "*The Heroes of Faith*" (Gwroniaid y Ffydd), wedi ei chyfieithu a'i chyhoeddi yn yr iaith Gymraeg, gyda chyfansoddiadau ereill y llenor dysgedig hwn. Gall ef ei hun siarad ac ysgrifenu y ddwy iaith yn gywir; ac y mae ganddo athrylith gref, a doniau godidog. Cawsom gyfleustra i'w weled (ond nid i'w glywed yn pregethu), yn Nghymanfa y Bedyddwyr Cymreig, a gynhaliwyd yn Mahanoy City, Pa., Medi, 1871. Dyn dirodres a chyfeillgar, o daldra cyffredin, ydyw.

DAVID T. DAVIES, YSW., 531 M'ILVAINE ST., PHILADELPHIA, PA

Dyn bychan ac eiddil o gorffolaeth yw y boneddwr ieuanc hwn. Addawodd ysgrifenu ei hanes, gyda hanes Cymry Philadelphia; ond ni ddaeth yr ysgrif i law yn brydlon. Nid wyf yn gwybod ei hanes boreuol. Bu yn filwr dewr yn myddin y Llywodraeth am lawer o amser; a chafodd ei ddal a'i garcharu gan y gwrthryfelwyr, a dyoddefodd y driniaeth fwyaf greulon ganddynt, nes y mae yn syndod ei fod yn fyw. Ond cafodd waredigaeth ryfeddol. Wedi darfod y rhyfel, dychwelodd i St. Clairs, Schuylkill Co., Pa., lle y priododd â boneddiges ieuanc, grefyddol, ac y dysgodd ei gelfyddyd fel Arlunydd cywrain. Er ys blynyddau bellach, cafodd ei anrhydeddu â swydd

barchus dan y Llywodraeth, yn y *Custom House*, yn ninas Philadelphia, Pa. Mae ganddo gymhwysderau neillduol i gyflawni swyddau o ymddiried, ac y mae yn wir haeddol o fwy o dâl ac anrhydedd. Ychydig o'r Cymry, mewn cymhariaeth i'w rhifedi a'u teilyngdod, sydd wedi cael eu cydnabod yn deilwng gan y Llywodraeth hon, gan faint gorchwant cenhedloedd ereill am swyddau gwladol. Mae Cymry America, o hyn allan, am hawlio mwy o'u hiawnderau a'u rhagorfreintiau gwladol. Dylent wneyd hyny, er eu lles a'u hanrhydedd eu hunain, ac er lles ac anrhydedd y Weriniaeth ddyngarol a nerthol hon.

## ADGOFION AM Y DIWEDDAR BARCH. WM. ROWLANDS, D. D.

Bu farw y gwr enwog, a'r pregethwr efengylaidd hwn, yn Utica, Oneida Co., N. Y., er ys ychydig o flyneddau yn ol, a chladdwyd ef yn barchus mewn mynwent hardd, gerllaw y ddinas hono. Mae ganddo gofgolofn hardd ar ei fedd. Mae y Parch Howell Powell (T. C.), gynt o Cincinnati, ond yn awr o New York, wedi ymgymeryd âg ysgrifenu a chyhoeddi ei *gofiant* er ys llawer o fisoedd, ac y mae disgwyliad mawr am dano. Nis gwyddom beth yw yr achos o'r oediad hirfaith. Ysgrifenais ychydig o adgofion am dano i'w cyhoeddi yn ei gofiant, a chredwyf y cawn ei hanes yn gyflawn gan Mr. Powell, cyn hir eto; am hyny esgusoder fi am fyrdra yma. Ganwyd ef yn Llundain, Lloegr, Hydref 10, 1807. Yr oedd yn 59 mlwydd oed pan fu farw. Bu farw ei dad pan oedd ef tua 7 mlwydd oed. Yn y fl. 1816, daeth yn llaw ei fam i dalu ymweliad â'u perthynasau yn Llanddewi, Sir Aberteifi, D. C. Dyna yr amser y dysgodd siarad *Cymraeg,* ac yr oedd ychydig o lediaith yn perthyn iddo ar hyd ei oes. Bwriadwyd ef i fod yn offeiriad yn yr Eglwys Sefydledig. Cafodd addysg am ddwy flynedd yn Athrofa Ystrad Meurig. Ymadawodd oddiyno, ac aeth i'r ysgol a gedwid gan y Parch. John Jones, yn Llangeitho; ac yno y teimlodd ddylanwad achubol yr efengyl ar ei feddwl, ac ymunodd â'r eglwys Drefnyddol Galfinaidd yno yn y flwydd-

yn 1823. Bu yn cadw ysgol yn Merthyr, ac wedi hyny yn Pontypool, D. C. Yno y dechreuodd bregethu, Ionawr 22, 1826. Bu yn Genhadwr cartrefol ar ororau siroedd Mynwy a Henffordd am y flwyddyn 1828. Priododd â Miss Ann Jacob, ger Caerdydd, yn 1829. Prynodd argraffwasg yn Pontypool, ac yno y bu yn golygu ac yn cyhoeddi yr "*Athraw*." Cafodd ei neillduo i gyflawn waith y weinidogaeth yn Nghymdeithasfa Llangeitho, Awst 9, 1832. Yn 1834 bu farw ei wraig gyntaf, yn y Coed-duon, Sir Fynwy, a'i unig blentyn yn 1836. Yn fuan wedi hyny ymfudodd i America, a chymerodd ofal eglwys y T. C. yn Allen St., New York. Bu yn gweinidogaethu am flyneddau yn ninas New York, a chafodd lawer o brofedigaethau yno. Wedi hyny bu yn gweinidogaethu yn Utica, a Rome, N. Y., ac yn Scranton, Pa. (yn 1857), ac yn Holland Patent, N. Y., a diweddodd ei oes lafurus a defnyddiol yn Utica, N. Y. Priododd eilwaith, ac y mae ei weddw hawddgar, a llawer o'i blant, yn fyw eto. Dechreuodd gyhoeddi y "Cyfaill o'r Hen Wlad" Ionawr 1, 1838, a pharhaodd i'w olygu yn fedrus hyd derfyn ei oes, gyd ag ychydig o eithriadau. Cyhoeddodd amrai o lyfrau Cymreig gwerthfawr hefyd, sef Hanes Dechreuad a Chynydd y Trefnyddion Calfinaidd yn America; Angau yn y Crochan; Llyfr Emynau; y Mab Afradlon, &c.

Clywais lawer o son am dano yn Nghymru, fel pregethwr talentog, a llenor dysgedig; ac yr oeddwn yn awyddus am gael ei weled a'i glywed. Ar fy ymweliad cyntaf â'r wlad hon yn haf poeth y flwyddyn 1851, dymunwyd arnaf bregethu yn Nghymanfa y T. C. yn addoldy heol Allen, New York (Mehefin 26, 27). Dyna yr amser y gwelais ef *gyntaf*. Gwisgai ddillad *gwynion, ysgafn*. Yr oedd yn debyg iawn i'w *ddarlun*. Dyn byr, tew, o gorffolaeth, ydoedd; pen crwn, mawr; talcen llydan, uchel; llygaid mawrion, craffus, &c., a'r oll yn eglur ddangos enaid mawr anghyffredin. Yr oedd ei lais yn wanaidd, ond yn hyglyw a threiddiol. Cyfaddaswyd ei dafod a'i wefusau i siarad yn eglur, a'i ddwylaw bychain, tlysion, i ddefnyddio yr ysgrifbin yn fedrus a hyrwydd. Yn y Gymanfa hono yr oedd yr hen weinidogion enwog, David Williams, gynt o Lan-

idloes; Edward Rees, gynt o Gonway a Llanrwst, ac ereill, yn bresenol. Cofiaf byth am y Gymanfa wlithog hono. Wedi hyny cefais lawer iawn o gyfleusderau i gyfeillachu ag ef, ac i'w adnabod. Yr oedd yn ddyn doeth a dysgedig, yn gyfaill anwyl, yn Gymro cenedlgarol, ac yn foneddwr dirodres. Yn ei gyfeillach yr oedd yn siriol a ffraeth, ac yn hoff o ddigrifwch pur a llesol; ond ni welais ef erioed yn darostwng ei hun trwy arfer ymddiddanion iselwael a difriol, na choegddigrifwch niweidiol. Yr oedd yn hoff iawn o adrodd hanesion difyrus, ac o arfer ffraethder er lloni ei gyfeillion, ac weithiau er rhoddi ergyd drom ar ben y coegfalch hunanol. Er ei fod yn dra Chalfinaidd yn ei olygiadau crefyddol, ac yn dra selog dros ei enwad, yr oedd yn meddwl yn barchus am enwadau efengylaidd ereill, a'u gweinidogion; ac ni ddeallais ei fod ef erioed, trwy gulni a rhagfarn enwàdol, wedi gwneyd dim yn ddirgel na chyhoeddus, i geisio codi ei hunan a'i blaid, trwy ddifrio a dirmygu ereill, na llawenychu yn eu profedigaethau. Yr oedd efe yn ddyn rhy bur a mawreddog i allu gwneyd hyny. Ymddyrchafodd Rowlands i boblogrwydd ac anrhydedd trwy ei gymeriad difrycheulyd, ei lafur diflino, a'i ddoniau, a'i ddefnyddioldeb, priodol ei hunan; a than eneiniad y dylanwadau dwyfol, ac amddiffyniad y Nef; am hyny methodd cydnerth ei holl elynion, a'u holl ddifriaeth a'u dichellion, ei ddarostwng, a lladd ei ddefnyddioldeb.

Pan oeddwn i ac yntau yn gweinidogaethu yn Rome a Floyd, Oneida Co., N. Y., yn 1856 a 1857, cawsom lawer o gyfleusderau i gyfeillachu â'n gilydd. Yn y gauaf oer a rhewllyd ofnadwy hwnw, pan oedd tair troedfedd o eira gwastad ar y ddaiar, a'r lluwchfeydd o chwech i wyth troedfedd, a'r ystormydd yn arswydol, cyfarfyddem ein gilydd yn aml ar y *Wright Settlement*, rhwng Floyd a Rome, yn ein *sleighs* (math o lusg-gerbydau Amerigol), yn ein capiau blewog, a chrwyn y buffalos am danom, bron a rhewi yn yr oerder mawr, a phrin yn gallu gweled ein gilydd. Cyfarchiad cyffredin Rowlands fyddai—"Frawd anwyl! y mae yn dywydd garw heddyw. Pa fodd y mae i fyny yna, ar fryniau Floyd? A oes gobaith y gallaf gyrhaedd yno yn bryd-

lon? Yr wyf bron a digaloni; ac yr wyf yn meddwl mai gwell fyddai i mi droi yn ol, a dyfod i wrando arnoch yn pregethu yn Rome." Atebwn inau—"Wel, Syr, yr wyf yn credu nad ellwch gyrhaedd yno yn *brydlon*—ac ar ystorm mor arw a hon, nad allai neb eich beio am droi yn ol." Collodd ei gyfeillion yn Floyd lawer o'i bregethau gwerthfawr felly, a chafodd yr Annibynwyr yn Rome fantais ar hyny. Pregethai weithiau yn eu capel yno am 2 o'r gloch, ar yr amod i minau bregethu yn ei gapel yntau yno am 6 o'r gloch, ar y Sabbothau hyny. Efelly buom byw yn frawdol, a chydlafuriasom, er llwyddiant yr efengyl yn y lleoedd a nodwyd, heb ddigter na dadl. Clywais ef yn traddodi amrai o'i *ddarlithiau* ar y bennod gyntaf o Lyfr Genesis, yn Rome; ac yr oeddynt yn ddwfnddysg, trefnus, cyflawn, a gwerthfawr. Ei amcan oedd egluro ac amddiffyn syniadau dwyfol Móses, yn erbyn gaugred anffyddwyr yr oes. Gwnaeth hyny yn fedrus.

Clywais ef hefyd yn *pregethu* yn nghyfarfodydd mwyaf poblogaidd y T. C. yn America, yn nodedig felus, yn ei hwyliau goreu, gyda dylanwad nefol, nes y byddai y cynulleidfaoedd yn fyw drwyddynt oll—lluoedd yn wylo, ereill yn gweddio, a llawer yn diolch ac yn gorfoleddu. Nid oedd efe yn cael hwyliau a dylanwad felly bob amser; ond anaml y methai gyrhaedd ei nôd, sef argyhoeddiad, teimlad, a phleser. Nid oedd ei syniadau na'i iaith yn fawreddog, ond yr oeddynt yn ysgrythyrol a thlysion; ac nid oedd yn feddianol ar hyawdledd areithyddol; ond ei brif nerth fel pregethwr oedd trefnusrwydd, eglurder, teimlad, a nefolrwydd. Yr oedd yn berffaith feistr arno ei hunan; yr oedd ei ysgogiadau yn weddus, a gallai reoli ei lais main, tyner, seinber, treiddiol, pan yn adrodd hanes y GROES, ac yn pregethu rhinwedd y *gwaed*, a dedwyddwch a gogoniant teulu Duw yn y nef, nes y byddai ei wrandawyr yn mwynhau nefoedd ar y ddaiar. Fel *traddodwr* pregethau, nid oedd efe yn feddianol ar nerthoedd Elias fawr o Fôn, a John Jones enwog o Lanllyfni; ond yr oedd yn debycach o lawer i'r diweddar Barch. Michael Roberts, o Pwllheli—yn dlws, yn drefnus, yn doddedig, ac yn effeithiol. Y tro *olaf* y clywais ef yn

*ceisio pregethu*, pan mewn gwendid corfforol mawr, oedd yn Nghymanfa y T. C. yn Utica, N. Y. (ar ol y Parch. John Jones, gynt o Middle Granville, N. Y., ond yn awr o Emporia, Kansas, yr hwn a bregethasai yn dlws a difrifol ar "Lestri Digofaint," a "Llestri Trugaredd," Rhuf. ix. 22, 23), yn haf y flwyddyn 1864. Rhoddodd benill i'w ganu, darllenodd ei destyn yn araf, gwnaeth raglith fer, dechreuodd adrodd ei raniadau, a *cheisiodd* bregethu; ond *gorfu iddo roddi i fyny* yn mhen llai na chwarter awr, gan ddywedyd, "Mae fy iechyd yn pallu; nis gallaf siarad ychwaneg; y Duw mawr a'ch bendithio." Yr oedd ei wyneb yn welw, a'i gorff yn grynedig; daeth i lawr o'r areithfa, a chymerwyd ef adref i'w dy i gael gorphwysdra. Bu fyw flynyddau ar ol hyny, a phregethodd lawer gyda dylanwad mawr. Ni bu yn ddyn cryf erioed; cwynai yn aml oblegyd llesgedd ei gorff; a byth wedi hyny aeth yn waelach, waelach, nes ehedodd ei enaid at ei Waredwr i'r wlad lle nad oes neb yn glaf, na neb yn marw. Pregeth *fer, effeithiol*, oedd hono. Creodd gydymdeimlad mawr. Yr oedd lluoedd yn wylo. Ar ol yr odfa, aethum i edrych am dano yn ei dy yn Utica; yr oedd yn llawer gwell. Cawsom gyfeillach anwyl gyda'n gilydd. Wrth i ni son am y profedigaethau chwerwon a gawsom ein dau yn New York, wylasom mewn cydymdeimlad; a dywedodd Rowlands—"Wel, frawd anwyl, dichon fod genyf fi a chwithau wendidau a ffaeleddau sydd yn galw am brofedigaethau chwerwon fel hyn, i'n profi a'n puro; ond na ddigalonwn; credwyf nas gall cenhadon ffyddlon Iesu byth ddyoddef ar gam, oblegyd cableddau dynion drwg, a brodyr gau, heb fod yr ergyd yn *dychwelyd yn ol* yn *llawer trymach* ar eu herlidwyr a'u cablwyr." Ni welais ef byth wedi hyny. Ond yr wyf yn hiraethu am gael ei weled eto yn y nef, lle na bydd raid ymadael mwy. O wynfydedig obaith!

Barnwyf ei fod yn un o'r dynion callaf, ac o'r Cristionogion puraf, ac o'r llenorion mwyaf chwaethus, ac o'r pregethwyr mwyaf trefnus, ac effeithiol, a ddaeth erioed o Gymru dros y môr i America; a bod Duw wedi ei godi a'i gymhwyso yn foreu i fod yn fendithiol i'w genedl yma. Yr oedd y gallu mawr oedd ganddo i

siarad, i ysgrifenu, ac i bregethu yn Gymraeg a Saesonaeg, a'i graffder i ddeall dynion, a'i bwyll a'i amynedd i ddyoddef, ac i weithio ei ffordd yn mlaen yn llwyddianus trwy rwystrau a dirmyg, a'i wrthwynebiad cryf i bob gwag-ogoniant, a'i foneddigeiddrwydd nodedig, yn nghyd a'i dduwioldeb amlwg, yn fanteisiol iawn iddo i gyrhaedd safle uchel, a dylanwad mawr yn yr eglwysi, yr areithfa, a'r Wasg Gymreig yn y wlad hon. Yr oedd wedi yfed yn ehelaeth o ffynonau pur dysgeidiaeth; ac wedi dwys-fyfyrio athrawiaethau a rheolau dwyfol Cristionogaeth; ac wedi ei santeiddio i gyflawni gwasanaeth y cysegr. "DYN DUW, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda," ydoedd.

Yr oedd yn *llenor coethedig*. Ni bu erioed yn awyddus am wag-ogoniant yr Eisteddfodau; ond yr oedd yn ffieiddio eu cam-ddefnyddiad, a'u twyll, a'u cecrusddadleuon, fel pethau niweidiol i lwyddiant yr efengyl. Fel *Golygydd* y *Cyfaill* am flyneddau lawer, y dangosodd efe helaethrwydd ei wybodaeth, ei allu a'i chwaeth lenyddol, a'i rym fel traethodydd a dadleuydd efengylaidd. Y mae ei lyfr gwerthfawr, sef ei bregethau a'i ddarlithiau ar "DDAMMEG Y MAB AFRADLON," yn cynnwys llafur a medr mawr, yn deilwng o'r awdwr enwog, ac y mae ei ddelw yn amlwg arno. Bwriadodd ef i gynnwys "prif elfenau duwinyddiaeth Gristionogol," yn iaith syml a phur yr Ysgrythyrau, er lles y miloedd. Ond buasai yn hoffach genyf fi gael "Corff o Dduwinyddiaeth" o'i waith ef mewn trefn ac arddull arall, yn hytrach na'r dull aneglur o geisio codi ac egluro *athrawiaethau* y Beibl, trwy Ddammeg y Mab Afradlon. Ond gwn mai ei amcan ef oedd ei wneyd yn fwy deniadol ac effeithiol i *ieuenctyd* Cymry America. Bu yn dra llwyddianus yn hyny. Dyma ei brifwaith llenyddol.

Ysgrifenais yr *adgofion* hyn o barch diffuant i goffadwriaeth y Dr. Rowlands, ac mewn teimlad hiraethlawn, gan gofio ei fod yn awr yn ei *fedd!* Bu fyw a marw heb golli ei goron. Mae ei le yn wag yn ei dy, ac yn yr eglwysi, ac yn y pwlpudau, ac yn y cymanfoedd! Ac nis gall neb ei lenwi yn fuan. Dymunwyf nawdd a

bendith y Nef i'w weddw a'i blant. Erys ei goffadwriaeth yn fendigedig yn mhlith Cymry America drwy holl oesau amser.

BARDDONIAETH.—ROWLANDS FEL PREGETHWR.

Fel angel claer ehedai yn y nef,
Gan dremiaw ar y llawr â siriol wedd ;
Uwch dyffryn du trueiniaid byd ; a'i lef
A dreiddiai drwy y fro, mewn seiniau hedd ;
Ei galon oedd yn llawn o deimlad byw,
Dros fyd colledig yn ei euog waed ;
Mawrhai lywodraeth a gorseddfainc Duw,
Ni charai weled deddf y nef dan draed ;
Anaml gwelid ef uwch Sinai draw,
Yn gwisgo llid, mewn cwmwl du, a thân ;—
Yn creu taranau, mellt, ac erchyll fraw,
Nes peri gwae, yn lle trag'wyddol gân ;
Ond *Calfari* oedd ei ddewisol le,
A'i bwnc melusaf oedd *Y Groes*,—Y GROES !
Maddeuant rhad trwy waed Eneiniog Ne',
Cyhoeddi wnaeth hyd olaf ddydd ei oes. I. G.

DIWEDD.

# CYMRY GLAN AMERIC.

*Can a Chydgan Genedlaethol.*

GAN JOSEPH PARRY, YSW.,
**(Pencerdd America, Bachelor of Music.)**

***Cyfansoddwyd yn Shenandoah, Pa., Ionawr 27ain,* 1872.**

***Cyflwynedig i* "HANES CYMRY AMERICA," *&c.***

**Y GEIRIAU GAN IORTHRYN GWYNEDD.**

---

**Moderato, M. M. ♩ = 72. Op. 10.**

**1. Tra b'o'r bryniau a'r dol - diroedd Yn add - urno Gwalia**

**lan; A holl adar ei choedwigoedd, Yn ad - loni gwlad y**






2. Tra b'o myrdd o longau mawrion,
Dan faneri heirdd pob gwlad,
Yn dyrwygo dwr yr eigion,
Er cyflenwi marchnad rad ;—
Tra b'o'r Andes fawr yn gwisgo
Eira oesol am ei ben,
Fel rhyw gadarn deyrn yn lluddio
Hynt y cwmwl yn y nen ;—

"Bydd Cymry glân Americ," &c.

P. Rall.

byd; Yn seinio'r hen ganiadau I Brynawr mawr y byd.

P. Ral'.

P. Rall.

P. Rall.

P. Rall.

3. Tra b'o'r tanllyd fydoedd mawrion,—
Y planedau claer, a'r sêr,
Yn llewyrchu yr uchelion,
Ac yn datgan mawl eu Nêr ;—
Pan grochfloeddia yr archangel,
Nes deffroi marwolion llawr;
A'r Duw-ddyn ar orsedd uchel,
Barn y dydd diweddaf mawr ;—

"Bydd Cymry glân Americ," &c.

# DARNAU CERDDOROL

# JOSEPH PARRY, YSW.,

**(PENCERDD AMERICA, MUS. BAC., CANTAB.)**

---

JOSEPH PARRY was a pupil of Sir Sterndale Bennett* and Signor Garcia,* of the Royal Academy of Music, London, England; and during his course of three years' study at that Institution, he met with great success as a Classical Composer and Vocalist. He won the highest prizes of the Academy, and was honored with the degree of "Bachelor of Music," by the Cambridge University. He has taken twenty prizes for musical compositions of all orders, from the Choral to the Anthem, and a Sacred Cantata, Songs, Duetts, Trios, Quartettes, Glees, and Part Songs.

| | Price. |
|---|---|
| Song and Chorus.—Gwnewch bobpeth yn Gymraeg | $0 35 |
| Ballad.—The Old Cottage Clock | 35 |
| Song.—Slumber lie soft on thy beautiful eye | 35 |
| Song and Chorus.—Dyna'r dyn sy'n myn'd a hi | 35 |
| A Set of Six Songs, Welsh and English words, P. | 2 00 |
| " " With a Lithograph of the Author. Op. 11. Cloth, | 2 50 |
| Prize Glee.—Ar Don o flaen y Gwyntoedd. No. 1. Per dozen, | 75 |
| Glee, " " " No. 2, " | 75 |
| Prize Glee.—Rhosyn yr Haf. Welsh and English words, " | 75 |
| Prize Motett. For five voices. Gostwng, O Arglwydd | 25 |
| Prize Anthem.—Achub fi, O Dduw | 25 |
| Do. Clyw, O Dduw, fy ngweddi | 25 |
| Ballad.—Dying Child | 35 |
| Song.—O give me back my Childhood Dreams | 35 |
| Descriptive Ballad.—The Gambler's Wife, Welsh and English words | 30 |
| Song.—(Baritone). All Hail to the Cambria, " " " | 40 |
| Trio.—(Serenade). Sleep, Lady, Sleep | 40 |
| Glee.—The Prayer. Welsh and English words | 25 |
| Six Anthems. Op. 9. Price of Book, 75c. Each | 15 |

D. S. Gellir cael y darnau uchod gan Mr. Gomer Thomas, Danville, Montour Co., Pa., lle y gellir cael hefyd unrhyw ddarn at wasanaeth ein Heisteddfodau a'n Cyngherddau; yn nghyd a phob math o Offerynau Cerddorol.

* Bennett was a pupil of Mendelssohn; and Garcia a teacher of Jenny Lind.

## CANIADAETH Y CYSEGR.

**Mae JOSEPH PARRY, Ysw., (Pencerdd America, Mus. Bac.,) yn wir deilwng o sylw, parch, a chefnogaeth holl EGLWYSI a GWEINIDOGION Cymreig America.** Llawenychwyf yn ei nodweddiad dilwgr fel Cristion gostyngedig a ffyddlon; yn ei dalentau godidog fel Cerddor a Datganydd, ac yn ei lwyddiant a'i ddyrchafiad yn yr Athrofa Gerddorol yn Llundain, Lloegr, yr hyn a enillodd drwy ei ymdrechion diflino, a'i weithion gorchestol. Mae Cymry cenedlgarol talaeth Ohio yn haeddu parch mawr am sefydlu yr "Wyl Gorawl Gymreig," (The Welsh Choral Festival)—gall wneyd dirfawr les;—ac y mae ysgrifau Robert James, Ysw., Hyde Park, Pa., yn y "Drych," ac yn y "Faner." yn deilwng o sylw holl Gymry America. Gobeithio y gwna Cymry *pob* talaeth efelychu esiampl deilwng Cymry Youngstown, Niles, a manau ereill yn Ohio, trwy sefydlu Cymdeithasau Corawl cryfion yn mhob lle.

Mae CANIADAETH Y CYSEGR," neu "GANU CYNULLEIDFAOL" yn ein haddoldai, yn gofyn mwy o sylw ac ymdrechion. Gwnaeth E. J. Lewis, Ysw., Utica, N. Y., a'n hanwyl gyfaill H. J. Hughes, Ysw., New York, (yr hwn sydd yn awr yn ei fedd!) lawer o ymdrechion er dyrchafu "Caniadaeth y Cysegr" yn mysg Cymry America; a haeddant anrhydedd. Ond y mae angen mawr eto am ddiwygiad ac adfywiad yn ein "Canu [Cynulleidfaol." Mae genym lawer o gerddorion Cymreig medrus, yn cael cefnogaeth gan yr Eisteddfodau a'r Cyngerddau; ac y maent yn gallu canu yn y cyfarfodydd buddiol hyn, nes denu clust, a chalon, ac arian y miloedd, yn enwedig y bobl ieuainc. Paham nad allent ganu caniadau y groes, a'r nef, yn ein capelau, nes gwefreiddio ein cynulleidfaoedd? Am nad oes ganddynt ddigon o chwaeth grefyddol; ac am nad ydynt yn cael digon o gefnogaeth gan ein heglwysi a'n gweinidogion.

Credwyf fod awyddfryd cryf yn Joseph Parry am wneyd ei oreu dros ddyrchafiad Caniadaeth y Cysegr; mae ganddo alluoedd nodedig at hyny; cyfansoddodd lawer o ddarnau cysegredig, a beirniadodd lawer o donau cynulleidfaol. Treuliodd y Sabboth, Ion. 28, 1872, gyda'r eglwysi Cymreig yn Shenandoah City, Pa. Cydunasant i gadw cyfarfod canu nos Sabboth, ac i wrando ar gynghorion gwerthfawr Mr. Parry. Cawsant wledd Gerddorawl Gysegredig. Gallai wneyd lles mawr felly BOB Sabboth, ar ei deithiau trwy'r wlad. Ond credwyf fod gan yr Arglwydd waith mwy eto i'r Pencerdd Parry.

**Athrofa Gerddorol Gymreig yn America!** Dan Arolygiaeth ac Addysg JOSEPH PARRY, Ysw.—Trwy gydymdrech parhaus, gallai Cymry America ei chodi a'i chynal yn anrhydeddus, yn Columbus, Cleveland, neu Cincinnati, O.; neu yn Philadelphia, Pittsburgh, neu Hyde Park, Pa., neu yn New York. neu Utica, N. Y., neu ryw le arall a farnont fwyaf cyfleus, er addysgu Cerddoriaeth Foesol a Chysegredig. Mae yn awr oddeutu 384 o eglwysi Cymreig yn America, a phe cyfranent $20 bob un ar gyfartaledd, byddai y cyfanswm blyneddol yn $7,680.00 at y fath achos teilwng. Gyda y swm blyneddol yna, gellid talu cyflog blyneddol anrhydeddus i Mr. Parry, a rhai athrawon ereill, cynorthwyol iddo; a dichon y gellid estyn ychydig o gynorthwy i feibion a merched i gael addysg gerddorol yn yr Athrofa hono. Yr wyf fi a'm heglwys fechan ffyddlon yn Shenandoah City, Schuylkill Co., Pa., wedi penderfynu casglu a chyfranu $20 yn flyneddol at y fath achos teilwng; ac yn gobeithio y bydd i'r HOLL eglwysi ymaflyd yn ddioed yn yr achos o ddifrif, a phenderfynu ffurfio pwyllgor cyfrifol ac anrhydeddus i'w ddwyn i weithrediad. Eglwysi a Gweinidogion Cymreig America, o bob enwad yn ddiwahaniaeth! Penderfynwch, o un galon ar unwaith, i godi "CANIADAETH Y CYSEGR" i anrhydedd, drwy roddi cefnogaeth deilwng i Mr. Parry, y gwr a anrhydeddodd y Nef mor fawr, ac sydd yn teilyngu ein parch a'n hanrhydedd ninau.

---

## HANES CYMRY AMERICA, &c.

GAN Y PARCH. R. D. THOMAS, (IORTHRYN GWYNEDD.)

Mae y Gyfrol I. o'r gwaith rheidiol hwn allan o'r wasg, a bydd yn drysor gwerthfawr i bob Cymro a Chymraes. Cynnwysa Hanes yr holl Sefydliadau, a'r Eglwysi, Cymreig, yn nghyda'u Gweinidogion, &c., Beirdd, Llenorion, &c., a phob Cyfarwyddiadau i Ymfudwyr. Pris $2, $2.50, a $3, wedi ei rwymo yn hardd. Cyhoeddir Cyf. II. mor fuan ag y gellir, os ceir cefnogaeth brydlon. Pris $2, &c. Gellir cael y Gyfrol I. trwy anfon rhagdal at yr awdwr, i Mahanoy City, Schuylkill Co., Pa., a chan ei ddosparthwyr awdurdodedig trwy'r wlad.

# LLYFRAU NEWYDDION

**Y PARCH. R. D. THOMAS, (IORTHRYN GWYNEDD.)**

---

1. "HANES CYMRY AMERICA," &c., CYFROL I.—Yn cynnwys dros 550 o du dalenau, wedi ei argraffu ar bapyr da. Pris $2, a $2.50, a $3, mewn gwahanol rwymiadau heirdd. Cynnwysa Hanes yr holl Sefydliadau, a'r Eglwysi, a'r Gweinidogion, a'r Beirdd, a'r Cerddorion, a'r Llenorion, &c., *Cymreig;* yn nghyda hanes Tiroedd y Llywodraeth a'r Reilffyrdd, yn yr holl Dalaethau a'r Tiriogaethau Amerigol, o lanau y Werydd hyd lanau y Tawelfor; ac o'r Canada yn y Gogledd, hyd Patagonia yn y De. Ceir ynddo "*Gyflawn Olygfa*" ar *Gymry America*, fel yr oeddynt gynt, fel y maent yn awr, ac fel y byddant yn debyg o fod yn y dyfodol. Mae yn gyfrol wir ddyddorol a buddiol i bob Cymro a Chymraes. Ysgrifenwyd hi er lles y genedl Gymreig yn gyffredinol yn mhob gwlad. Gall ei darlleniad fod yn elw mawr i filoedd. Ceir ynddi hefyd y cyfarwyddiadau mwyaf rheidiol a gwerthfawr i *Ymfudwyr*, &c. Costiodd i'r awdwr dros dair blynedd o amser gwerthfawr, a llafur caled; a bydd y draul o'i hargraffu a'i chyhoeddi, a'i dosparthu, yn fawr iawn. Dymuna gefnogaeth ei genedl yn gyffredinol, yn America, yn Nghymru, ac yn mhob gwlad arall. Llyfr y genedl ydyw. Daeth y Gyfrol I. allan o'r wasg yn nechreu Mawrth, 1872, a gellir ei chael trwy anfon arian ($2, $2.50, neu $3) mewn *Post Office Order*, i'r awdwr, Rev. R. D. THOMAS, (*Iorthryn Gwynedd*,) Mahanoy City, Schuylkill Co., Pa. Rhoddir y *degfed llyfr* yn *rhad* i *Glubiau*, ac ereill a ddosparthant, ac a anfonant ragdalion am o 10 i 20, ac uchod; a thelir eu cludiad gyda y *mail* neu yr *express*. Anfonwch restr o enwau y derbynwyr, a'r prisiau, yn nghydag *address* y dosparthwr yn eglur

2. CYFROL II. o "HANES CYMRY AMERICA," &c.—Bwriada yr awdwr, os caiff gefnogaeth brydlon a chyffredinol, gyhoeddi *Ail* Gyfrol o'r gwaith rheidiol hwn. Cynnwysa hono *Hanes Cyflawnach* o brif Weinidogion, Beirdd, Cerddorion, Llenorion, &c., &c., yn nghyda Phigion o'u Gweithion Rhyddieithol a Barddonol, Hanes ein Heisteddfodau, ein Llenyddiaeth, &c., Beirniadaethau, Adolygiadau; y Wasg a'r Pwlpud Cymreig yn America, &c., &c. Mae gan yr awdwr lawer iawn o ddefnyddiau eisoes at y gyfrol hon; a dymuna ar bob gweinidog a bardd, a cherddor, a llenor, ac ereill (sydd heb wneyd eisoes) i anfon iddo eu hanes, a phigion o'u gweithion, yn nghyda'u darluniau, yn ddioed. Bydd pris y Gyf. II. yn $2, $2.50, a $3, mewn gwahanol rwymiadau heirdd.

3. "COLOFN Y GWIRIONEDD," yn cynwys dros 60 o Erthyglau Gwreiddiol, ar bob mater ysgrythyrol, perthynol i'r "EGLWYSI CRISTIONOGOL," eu natur, eu swyddogion, eu haelodau, eu trefn, eu dysgyblaeth, eu hawliau, &c.; Gweinidogaeth Crist, Gweinidogaeth yr Ysbryd Glan, yr Apostolion, &c. Gwerthwyd dros 2,500 o hono eisoes. Mae gan yr awdwr ychydig o gopiau o'r llyfr eto ar law. Pris $1.75—rhwymiad hardd.

# HYSBYSIADAU.

## (ADVERTISEMENTS.)

# LIST OF OTHER RAILROADS

CONNECTED WITH THE

## Three Main Railroads from New York City to All Points in the West, and recommended in this Book.

---

1. Pittsburgh, Fort Wayne & Chicago Railroad. F. R. Myers, Chicago.
2. Chicago, Burlington & Quincy Railroad. R. Harris, Chicago.
3. Hannibal & St. Joseph Railroad. P. B. Groat, Gen. Ticket Agent, Hannibal, Mo.
4. Pittsburgh, Cin. & St. Louis Railroad. W. L. O'Brien, Columbus, Ohio.
5. Pacific Railroad of Missouri. T. McKissock, St. Louis, Mo.
6. Central Railroad of New Jersey. H. P. Baldwin, 119 Liberty St., N. Y.
7. Lehigh Valley Railroad. W. H. Sayre, Jr., Bethlehem, Pa.
8. Philadelphia & Reading Railroad. G. A. Nicolls, Reading, Pa.
9. Atlantic & Great Western Railroad. (See Erie Railroad.)
10. Lake Shore & Mich. Southern Railroad. E. B. Phillips, Chicago, Ill.
11. Michigan Central Railroad. H. E. Sargent, Chicago, Ill.
12. Cleveland, Col., Cin. & Indianapolis Railroad. S. F. Pierson, Cleveland, Ohio.
13. Toledo, Wabash & Western Railroad. G. H. Burrows, Toledo, Ohio.
14. Cleveland & Pittsburgh Railroad. J. N. McCullough, Pittsburgh, Pa.
15. Ohio & Mississippi Railroad. J. L. Griswold, St. Louis, Mo.
16. Indianapolis & St. Louis Railroad. S. F. Pierson, St. Louis, Mo.
17. Chicago & Alton Railroad. A. Newman, Chicago, Ill.
18. Chicago & Rock Island Railroad. Hugh Riddle, Chicago, Ill.
19. Cincinnati, Hamilton & Dayton Railroad. S. Stephenson, Cincinnati, O.
20. Marietta & Cincinnati Railroad. J. W. Pillsbury, Cincinnati, Ohio.
21. Baltimore & Ohio Railroad. L. M. Cole, Baltimore, Md.
22. Milwaukee & St. Paul Railroad. S. S. Merrill, Milwaukee, Wis.
23. Chicago & North Western Railroad. Geo. L. Dunlap, Chicago, Ill.
24. Western Union Railroad. D. A. Olin, Racine, Wis.
25. Lake Superior & Mississippi Railroad. W. W. Hungerford, St. Paul, Minn.
26. Winona & St. Peter Railroad. J. H. Stewart, Winona, Minn.
27. St. Louis & St. Joseph Railroad. James Charlton, St. Louis, Mo.
28. St. Louis & Iron Mountain Railroad. W. R. Allen, St. Louis, Mo.
29. North Missouri Railroad. S. H. Knight, St. Louis, Mo.
30. Kansas City, St. Joe & Council Bluffs Railroad. A. L. Hopkins, St. Joseph, Mo.
31. Des Moines Valley Railroad. J. Barker, Keokuk, Iowa.
32. Utica & Black River Railroad. W. E. Hopkins, Utica, N. Y.
33. Rome, Watertown & Ogdensburgh Railroad. H. T. Frary, Watertown, N.Y.
34. Utica, Chenango & Susquehanna Valley Railroad. Lewis Lawrence, Utica, N. Y.
35. New York & Oswego Midland Railroad. V. H. Weed, Oneida, N. Y.
36. Syracuse, Binghamton & New York Railroad. O. Welch, Syracuse, N. Y.
37. Albany & Susquehanna Railroad. S. E. Mayo, Albany, N. Y.

### Railroads from New York to the New England States

1. New York & New Haven Railroad. J. Mendel, New York.
2. Old Colony & Newport Railroad. Jacob Sprague, Boston.
3. Boston & Providence Railroad. J. Daily, Jr., Boston.
4. Boston & Maine Railroad. J. S. Eaton, Boston.
5. Boston & Albany Railroad. J. M. Griggs, Springfield, Mass.
6. Connecticut River Railroad. W. J. Phelps, Springfield, Mass.
7. New York & Harlem Railroad. W. J. Van Arsdale, New York.
8. Rensselaer & Saratoga Railroad. O. N. Crandell, Troy, N. Y.

### Railroads to the Coal Regions of Pennsylvania.

1. Central Railroad of New Jersey. H. P. Baldwin, 119 Liberty St., N. Y.
2. Lehigh Valley Railroad. W. H. Sayre, Jr., Bethlehem. Pa.
3. Lehigh & Susquehanna Railroad. Mendes Cohen, Philadelphia, Pa.
4. Philadelphia & Reading Railroad. G. A. Nicolls, Reading, Pa.
5. Delaware & Hudson Railroad. Thos. Dickson, Honesdale, Pa,
6. Del., Lackawanna & Western Railroad. W. F. Halstead, Scranton, Pa
7. Catawissa Railroad. Geo. Webb, Williamsport, Pa.
8. Philadelphia & Erie Railroad. Henry W. Gwinner, Philadelphia, Pa.
9. Northern Central Railroad. J. N. Du Barry, Harrisburgh, Pa.
10. North Pennsylvania Railroad. E. Armstrong, Philadelphia, Pa.
11. Blossburgh & Corning Railroad. R. J. Burnham, Corning, N. Y.
12. Lackawanna & Bloomsburgh Railroad. D. T. Bourd, Kingston, Pa.
13. Alleghany Valley Railroad. J. J. Lawrence, Pittsburgh, Pa.
14. Morris & Essex Railroad. W. F. Holwill, New York.
15. Northern Railroad of New Jersey. L. D. Rucker, New York.

### Railroads from New York and Philadelphia to the Southern States.

1. New York & Philadelphia Railroad. F. W. Rankin, 111 Liberty St., N. Y
2. New Jersey Southern Railroad. G. W. Bentley, New York.
3. Camden & Amboy Railroad. J. W. Gore, Philadelphia, Pa.
4. Philadelphia, Wilmington & Baltimore Railroad. Geo. A. Dadmun, Philadelphia, Pa.
5. Philadelphia & Baltimore Central Railroad. Henry Wood, Philadelphia, Pa.
6. The Wilmington & Weldon Railroad. W. M. Poison, Wilmington, N. C.
7. The All-Rail Great Southern Mail Route. J. B. Yates, 229 Broadway, N. Y.

### Railroad Companies that have Lands For Sale Cheap.

1. Illinois Central Railroad. John B. Colhoun, Chicago, Ill.
2. Union, & Central Pacific Railroad. F. Knowland, 308 Broadway, N. Y.
3. Kansas Pacific Railroad. A. Anderson, Lawrence, Kansas, J. P. Devereux, Lawrence, Kansas. Dr. W. E. Webb, Topeka, Kansas.
4. The Northern Pacific Railroad. S. Wilkeson, 120 Broadway, N. Y. Jay Cooke & Co., Philadelphia, Pa.
5. Atlantic & South Pacific Railroad. E. F. Perkins, St. Louis, Mo.
6. Burlington & Missouri River Railroad. Geo. S. Harris, Burlington, Iowa.
7. Hannibal & St. Joseph Railroad. Edward Wilder, Hannibal, Mo.
8. Central Branch Union Pacific Railroad. W. F. Downs, Atchison, Kansas.
9. Kansas City, Ottumwa, Burlington & Santa Fe Railroad.
10. Missouri River, Fort Scott & Gulf Railroad. B. S. Hening, Kansas City, Mo.
11. Missouri, Kansas & Texas Railroad. Isaac T. Goodnow, Neosho Falls, Kansas.
12. Leavenworth, Lawrence & Galveston Railroad. M. R. Baldwin, Lawrence, Kansas.
13. St. Paul & Sioux City Railroad. J. C. Boyden, St. Paul, Minn.
14. Detroit & Milwaukee Railroad. J. H. Muir, Detroit, Mich.
15. Iowa Railroad Land Company. No. 1 La Salle St., Chicago.

# LLINELL WILLIAMS A GUION.

## (GUION LINE.)

---

Sylwch ar enwau a hanes Agerddlongau cryfion, cyfleus, a chyflym *Williams a Guion*, (The *Guion Line*,) ar yr ochr arall. Mae y Llinell hon yn un o'r rhai goreu sydd yn croesi y Werydd; ac y mae y Cwmpeini mwyaf cyfrifol a pharchus yn eu meddianu ac yn eu rheoli; a'r swyddogion mwyaf medrus, boneddigaidd, a charedig, yn gofalu am danynt ar yr eigion mawr. Mae pob un o'r Agerddlongau hyn, sef yr Idaho, Minnesota, Manhattan, Wisconsin, Nevada, Colorado, Nebraska, a Wyoming, wedi eu gwneyd o haiarn, yn ddosparthiadau cysylltiedig, nad all dwfr fyned iddynt; ac y mae eu clod yn uchel trwy Ewrop ac America, am eu cryfder, eu buander, eu cyfleusderau, a'u dyogelwch. Mae miloedd lawer wedi croesi y mor ynddynt yn dra chysurus; ac wedi rhoddi cymeradwyaethau iddynt.

Mae yr ystafelloedd *goreu* (*cabins*) ar y llawr uwchaf; ac ni raid i'r rhai a allant dalu am eu cludiad ynddynt, (sef $70, mewn *aur* o New York i Liverpool; a $90, neu tua £18 10s. mewn *aur*, o Liverpool i New York,) ofalu am ddarparu dim at y fordaith; cânt bob peth rheidiol i'w cynal a'u cysuro, gan swyddogion (*stewards*) yr agerddlongau.

Caiff teithwyr ac ymfudwyr a fyddant yn talu am eu lle yn y *steerage*, sef yr ystafelloedd ar y llawr isaf, ($30 mewn papyrau cymeradwy, o New York i Liverpool; a $33, neu tua £6 15s. o Liverpool i New York.) ddigon o ymborth da, wedi ei goginio yn barod ar eu byrddau, gan swyddogion yr agerddlongau, dair gwaith y dydd; ni raid iddynt ofalu am ddim ond gwely a dillad, a llestri i fwyta ac i yfed; neu gallant gael y rhai hyny am $4, yn swyddfa y Cwmpeini, yn New York, ac yn Liverpool.

Gwell fyddai i'r rhai fyddo am fyned *yn ol* i *Gymru*, neu am anfon am eu perthynasau o'r Hen Wlad, brynu y *Passage Tickets* cyn cychwyn oddi cartref, rhag iddynt gael eu twyllo gan *runners*, New York. Ond gallant ynddiried yn Mr. Cadwaladr Richards.

Cofiwch mai *bob dydd Mercher* y bydd yr agerddlongau *uchod* yn *cychwyn* o Liverpool i New York, ac o New York i Liverpool. Gellwch anfon *arian* gyda y Cwmpeini hwn yn berffaith ddyogel, am ychydig o dâl.

WILLIAMS & GUION, 29 Broadway, New York.

GUION & CO., 25 Water Street, Liverpool.

# TO EUROPE. THE INMAN LINE.

## From New York to Queenstown and Liverpool.

Under contract with the Governments of Great Britain and the United States for carrying the Mails.

*AVERAGE PASSAGE FROM NINE TO TEN DAYS.*

**City of Chester,**
**City of Richmond,**
**City of Montreal,**
**City of Brussels,**
**City of Brooklyn,**
**City of Paris,**
**City of Antwerp,**
**City of London,**



**City of Baltimore,**
**City of Washington**
**City of New York,**
**City of Bristol,**
**City of Limerick,**
**City of Dublin,**
**City of Halifax,**
**City of Durham.**

## From New York for Liverpool

Every Saturday and Wednesday, from Pier 45 North River, Landing passengers for Ireland at Queenstown.

FROM QUEENSTOWN OR LIVERPOOL.

A steamer leaves Liverpool every Tuesday and Thursday, embarking passengers from Queenstown every Wednesday and Friday.

These Steamers are built on the Clyde, are constructed in Water-Tight Iron Sections ; are supplied with Patent Fire Annihilators ; and carry experienced Surgeons. The accommodation and attendance are unsurpassed. The vessels of this Line cross *south* of the Banks of New Foundland during the ice season.

**RATES OF PASSAGE.**

FIRST CABIN—To Queenstown or Liverpool, $75, payable in Gold. From Liverpool to New York, 15 or 18 Guineas, or $75 and $90, gold.

STEERAGE—From New York to Liverpool, $30, payable in currency. From Liverpool to New York, $34. Infants, $5, currency.

Children between 1 and 12, *half fare.* Infants under one year, *free.*

Tickets can be bought on this side at the above rates bv persons wishing to bring out their friends.

Apply at the Company's Offices,

JOHN G. DALE, 15 Broadway, New York.

WM. INMAN, 22 Water Street, Liverpool,
Nos. 62 & 63 Tower Buildings, South Liverpool.

This Company have Agencies in London, Paris, Hamburgh, Havre, Antwerp, Belfast, Queenstown, and in all parts of the United States.

# THE INMAN LINE (Llinell Inman).

The intimate relations between this country and Europe in exports, imports, and emigration, are best illustrated in the remarkable development of the Inman Line; which in 1850, the date of its inauguration, numbered but two ships, yet now in its eighteenth year has a fleet of sixteen first-class steamers, and others building. Every ship of this line is built in water-tight compartments, and completely equipped with all the latest and most approved appliances for the comfort and safety of passengers. Without government aid or any subsidy whatever, this line, under the judicious management of its officers, has achieved a magnificent success. And although by its superior facilities and quick time it has commanded the carrying of the British and United States mails for the ocean postage, it has looked mainly to legitimate business for its remunerative rewards. The thousands of tourists who have enjoyed the elegant hospitalities, the polite attentions and zealous care of officers and crew on board any of the splendid steamers of this line, need not be told the simple secret of its popularity with the traveling public. Nor is the general excellence of this line confined to the cabin. Within twenty years, more than 500,000 emigrants have been landed on our shores in her staunch, roomy, and well appointed ships. David A. Wells, Special Commissioner of the Revenue, estimates the value of each emigrant brought into the United States at $1,000. Here then is an accession of five hundred millions to the actual wealth and industry of the country. The name of the Inman Line is a household word throughout the United States, and thousands upon thousands of our foreign-born citizens have pleasant memories of the kind treatment and superior accommodations of the *steerage*. The most scrupulous attention is paid to cleanliness and ventilation. Good, wholesome food is furnished in abundance, and under the humane and efficient regulations of the steerage, the bills of mortality on the Inman Line have been reduced to one in a thousand, including infants. This is less than on shore, and this fact, as shown by figures and reliable statistics, speaks volumes for the Inman Line. This Company has Agents in all the principal towns and cities of the United States and Europe. Mr. John G. Dale, General Agent, and Mr. S. G. Nicholson, of the Passenger Agency, No. 15 Broadway, New York, will be found prompt and obliging in all matters pertaining to passage tickets, and both the tourist and the emigrant may rely upon the best possible attainments in speed, comfort, and safety. The average time by these steamers is nine to ten days. One of the Inman ships, the City of Brussels, made the quickest time on record, 7 days, 20 hours, 10 minutes. Every Saturday and Thursday the Inman Line despatches a mail steamer for Liverpool, calling at Queenstown. Cabin fare, $75 in gold. Steerage passage, $30, currency. Passage from Liverpool or Queenstown to New York—cabin, $75 and $90, gold. Steerage, $34, currency.

☞ Gall y rhan fwyaf o'r Cymry ddeall yr uchod, ac yr wyf yn sicrhau y gallant ymddiried yn ei wirionedd. Profa fod *Llinell Inman* yn un o'r rhai goreu sydd yn croesi y Werydd; a bod yn ei hagerddlongau y darpariadau goreu er lletya, porthi, awyru, cysuro, a dyogelu teithwyr ac ymfudwyr, nid yn unig yn y cabin ond yn y steerage hefyd.—I. G.

☞ Agerddlongau rhagorol yw y rhai uchod, ac ychwanegir at eu rhifedi yn fuan.—I. G.

# TIROEDD FFRWYTHLON A RHAD.

## Sefydliad Neosho, (Kansas,) Bangor!

*Y Cyfle Goreu Eto—Telerau Anghydmarol o Esmwyth —Miliwn* (1,000,000) *o Erwau o'r Tiroedd Ardderchocaf yn Kansas ar Gredyd o Ddeng Mlynedd, gan* BACHELLER A JONES, *Emporia — Triugain-a-Deg Mil* (70,000) *o Erwau wedi eu neillduo yn Bwrpasol i'r Sefydliad Newydd Neosho, yn Nyffryn Mawr Neosho,* (the Great Neosho Valley,) *"The Garden of Kansas."*

☞ Dewiswyd y Tiroedd hyn o herwydd eu *Ffrwythlonrwydd, Dwfr,* a *Glo.*

Y mae y darn hwn o dir cyfangorff, y mwyaf dymunol i sefydliad amaethyddol y gellid cael gafael ynddo yn un man, y pris yn gymedrol, a'r telerau yn anghydmarol o esmwyth—yn rhedeg dros ddeng mlynedd o amser.

### Y PRISIAU A'R TELERAU.

Rhed y pris o dair dolar ($3) i fyny at saith dolar ($7) yr acr. Telir i lawr pan brynir, un ddolar ($1) yr acr, a'r llog am y gweddill. Telir y llog yn unig yr ail, y drydedd, y bedwaredd, a'r bumed flwyddyn. Y gweddill o arian y pryniad i'w talu yn rhan gyfartal bob blwyddyn, gyda llog. am bum' mlynedd. Fel hyn ceir deg mlynedd o amser i dalu am dir y sefydliad ar delerau esmwythach nag a geir gan neb arall yn unman.

Rhoddir Town lots *am ddim* i bawb a adeilado arnynt.

Gorwedd y tiroedd yn agos i reilffordd. Bydd reilffordd yn myned drwy diroedd y Sefydliad yn fuan.

Cymerir gofal mawr i ddangos tiroedd i brynwyr, a dewis i'r sawl na allant ddyfod yma yn amserol. Galwer gyda, neu ysgrifener at Bacheller & Jones, Emporia, Kansas.

DALIER SYLW.—Cymerer tocynau i St. Louis, Missouri, ac oddiyno i Burlington, Coffey Co., Kansas, gyda'r "Missouri Pacific Railroad," via Sedalia and Fort Scott. Galwer gyda Mr. T. T. Goodwin yn Burlington.

☞ Mae reilffordd newydd yn cael ei gweithio o Kansas City, trwy Ottawa, a Burlington, trwy dref a sefydliad Bangor, ac oddiyno i Eureka a Santa Fe. Cynydda y dref a'r sefydliad yn gyflym, a dybla y tiroedd yn eu gwerth yn fuan. Prysurwch yno. Gwel ei hanes yn Dos. B, t. d. 134, ac yn Dos. C, Pen. VI. a VII.

C. B. BACHELLER, (*County Attorney.*)
WM. B. JONES, (Ap P. A. Mon.)
Emporia, Lyon Co., Kansas.

---

## Tiroedd Ffrwythlon Arvonia, Osage Co., Kansas.

Mae miloedd o erwau o'r tiroedd ffrwythlon a dymunol uchod i'w cael ar werth eto, am brisiau rhesymol, gan J. Mather Jones, Ysw., Arvonia, Osage Co., Kansas. Mae ARVONIA yn dref hardd a chynnyddol, a lluoedd o ddynwyr Cymreig parchus wedi sefydlu o'i deutu eisoes, yn ddedwydd a llwyddianus. Tiroedd da, ffrwythlon, ac iachus, ydynt. Byddant wedi eu prynu oll cyn pen ychydig o flyneddau. Yn awr yw yr adeg i ymfudo yno. Gwel eu hanes yn Dosran B. o'r llyfr hwn, tu dalen 123 a 124.

# Tiroedd Rhad Talaeth Wisconsin.

Mae yn y Dalaeth eang, ffrwythlon, ac iachus hon lawer o filoedd o erwau o diroedd amaethyddol, coediog a mwnawl, gan Lywodraeth yr Unol Dalaethau, a ellir eu prynu am $1.25 yr erw, neu am *ddim*, trwy sefydlu arnynt a'u diwyllio, dan "Gyfraith Cartref," (*the Homestead Act*). Ceir Swyddfäau y Llywodraeth yn y lleoedd canlynol :—Menasha, Stevens' Point, La Crosse, Eau Claire, Falls y St. Croix, a Bayfield.

## TIROEDD RHAD Y DALAETH.

Derbyniodd Llywodraeth y Dalaeth, gan y Llywodraeth Gyffredinol, filoedd o erwau o dir rhagorol at gynal ysgolion cyffredin, ysgolion amaethyddol, ysgolion athrawon, a phrif-ysgol, ac at ddyhysbyddu corsydd. Gellir prynu y tiroedd hyny gan yr Anrhydeddus Llewelyn Breese, Ysgrifenydd y Dalaeth, yn Madison; neu gan Ddirprwywr Bwrdd Ymfudiad (The Commissioner of the Board of Emigration), yn Milwaukee.

DYMA RESTR O DIROEDD Y DALAETH:

| Siroedd. | Erwau. | Siroedd. | Erwau. |
|---|---|---|---|
| Ashland | 166,000* | Kewaune | 21,000 |
| Bayfield | 26,000 | Manitowoc | 12,000 |
| Burnett | 73,000* | Marathon | 700,000 |
| Barron | 22,000* | Pierce | 2,000 |
| Brown | 6,000 | Polk | 90,000* |
| Buffaloo | 10,000 | Pepin | 2,000 |
| Calumet | 6,000 | Sheboygan | 5,000 |
| Chippewa | 240,000* | Shawano | 100,000 |
| Clark | 60,000* | Sauk | 1,500 |
| Crawford | 3,000 | St. Croix | 3,000* |
| Door | 58,000* | Waupaca | 20,000 |
| Douglas | 112,000* | Winnebago | 5,000 |
| Juneau | 130,000 | | |

* Mae tiroedd rhad y Llywodracth Gyffredinol i'w cael yn y siroedd yma.

Yn ol y cyfrif uchod mae gan Dalaeth Wisconsin yn agos i ddwy filiwn o erwau o diroedd da ar werth; a gellir eu prynu am o haner dolar (50 cents) i ddau ddolar a haner ($2.50) yr erw. Mae y rhan fwyaf o honynt yn siroedd gogleddol a gorllewinol y Dalaeth, lle mae llawer o weirdiroedd (*prairies*) rhagorol; a chyflawnder o'r coedydd mwyaf gwerthfawr, sef ffawydd o'r fath oreu, derw, on, hicori, maple, elm, cherry, walnut, hemloc, cedrwydd, spruce, fir, butternut, basswood, &c. Tal y coed yn aml ddwbl gwerth eu tori a'u clirio. Mae prinder mawr am goedydd yn Iowa, Missouri, Illinois, Kansas, Nebraska, &c.; ond

## *Mae Cyflawnder o'r Coedydd Goreu yn Wisconsin,*

Digon i droi allan swm anferthol o *lumber* at adeiladu, ac er cyflenwi angen y Gorllewin am oesau lawer.

Perthyna i'r tiroedd hyn beth tir sal iawn, llawer o dir gweddol, a llawer iawn o'r tir goreu: mae ei bris yn isel, a'i deitl yn berffaith dda.

Mae ynddo hefyd lawer o fwnau haiarn, copr, plwm, &c. Rhed drwyddo hefyd lawer o afonydd grisialaidd. Gallai miloedd o deuluoedd gael cartrefi dedwyddol arno.

Gwel Hanes Wisconsin yn Dosran B. o'r llyfr hwn, Pen. IV. Hefyd, darllen yr Ystadegau gwerthfawr o adnoddau, cynnyrchion, a phoblogaeth Talaeth Wisconsin, a gyhoeddwyd yn Madison, Wis., yn Mai, 1870, ac a gyfleithwyd gan y Cymro dysgedig John T. Jones, Ysw., dan nawdd Bwrdd Ymfudiad (Board of Emigration), sef y personau anrhydeddus canlynol:

Lucius Fairchild, Llywodraethwr. — J. A. Beecher.
Llewelyn Breese, Cofiadur y Dalaeth. — Hugh W. Jones.
K. J. Fleischer. — J. W. Carney.
J. B. Eugene. — M. A. Fulton.

# GORUCHWYLWYR A THAI CYFRIFOL
## Yn New York, a Liverpool, &c.

### CADWALADR RICHARDS, YSW., 70 SOUTH 6th STREET, BROOKLYN, N. Y.

Mae y Cymro cenedlgarol a pharchus hwn yn frodor o Dolgellau, Meirionydd, G. C. Ganwyd ef yno ar ddydd Nadolig 1810. Mab ydyw i Humphrey Richards, a Jane ei wraig. Cafodd ei fedyddio gan y Parch. David Richards, pan yn 15 mlwydd oed. Ymfudodd i New York, America, yn 1830. Priododd a Miss Sarah Richards yn 1831. Mae yn aelod parchus gyda y Bedyddwyr. Bu yn Oruchwyliwr dros y Commissioners of Emigration am 8 mlynedd. Wedi hyny bu yn Oruchwyliwr ac yn cadw ty i ymfudwyr am dros 15 mlynedd. Bu yn hyfforddwr, yn nodd wr, ac yn gymwynaswr i filoedd o Gymry; a bu ei briod hoff yn wasanaethgar a charedig iddynt hefyd. Y ty rhagorol a chyfleus olaf a gadwodd oedd y Temperance Hall, No. 403 Greenwich Street, New York. Ond yn ddiweddar rhoddodd y ty hwnw i fyny i'w olynydd parchus Mr. John W. Jones. (Gwel ei hanes.) Mae Mr. Richards yn awr yn byw yn No. 70 South 6th St., Williamsburgh, Brooklyn, N. Y., ond y mae yn PARHAU yn ei swydd fel Goruchwyliwr Ymfudol i ddau gwmni anrhydeddus yr agerddlongau rhagorol, sef y Guion Line a'r Inman Line, ac i gwmni y prif reilffyrdd sydd yn rhedeg o New York i'r Gorllewin a'r De. (Gwel eu hanes.) Gellir gweled Mr. Richards bob dydd yn eu swyddfaau yn No. 29 neu 15 Broadway, yn agos i Castle Garden, New York; ac yn y Temperance Hall, No. 403 Greenwich Street, N. Y. Mae yn deilwng o ymddiried a diolchgarwch ei genedl. Ymrwyma i dalu am fwyd am ddiwrnod, ac am lety am noswaith, i bawb y bydd wedi talu eu cludiad o'r Hen Wlad i'r wlad hon. Bydd Mr. John W. Jones yn eu cyfarfod yn y Castle Garden, ac yn eu harwain i'w dy ymfudol mawr a chyfleus, sef y Temperance Hall, No. 403 Greenwich St., New York, lle y cant bob ymgeledd reidiol, a chyfarwyddiadau i fyned gyda'r reilffyrdd i ben eu taith. Rhodda y gweinidogion canlynol gymeradwyaeth i Mr. Richards fel Goruchwyliwr y gall y genedl roddi yr ymddiried mwyaf ynddo:

| | |
|---|---|
| Wm. Roberts, D. D., Pennsylvania. | David Price, Iowa. |
| Howell Powell, New York. | Morris Roberts, Remsen. |
| J. Edred Jones, Utica. | R. Everett, D. D., Steuben, N. Y. |
| J. W. James, Pittston. | R. L. Herbert, Vermont. |
| Alfred Harries, New York. | H. Humphreys, St. Louis. |
| R. D. Thomas, Pennsylvania. | Lewis Meredith, Illinois. |

### TEMPERANCE HALL, 403 GREENWICH ST., NEW YORK.

Dymuna JOHN W. JONES (brawd Dafydd Morganwg, Cymru) hysbysu ei gydgenedl yn y ddwy wlad, ei fod wedi cymeryd y ty enwog a chyfleus uchod, oddiar law y byd-hysbys CADWALADR RICHARDS; a'i fod yn benderfynol i roddi i bawb a roddant eu hunain i'w ofal, ar eu glaniad yn y wlad hon, neu ar eu dychweliad i'r Hen Wlad, neu ar eu ffordd i unrhyw fan o'r Unol Dalaethau, gartref cysurus, bwyd blasus ac iachus, a llety glan a chlyd, a'r oll am y prisiau iselaf. Cyfarfyddaf a'r ymfudwyr yn CASTLE GARDEN, arweiniaf hwynt i No. 403 Greenwich Street, N. Y., a rhoddaf iddynt bob hyfforddiadau rheidiol i fyned gyda y reilffyrdd goreu i ben eu taith.

Mae y gweinidogion parchus isod yn cymeradwyo y Ty uchod fel lle parchus a chyfleus i deithwyr ac ymfudwyr a'i berchenogion fel pobl onest a charedig y gellir ymddiried ynddynt: Fred. Evans (B.), New York; M. A. Ellis (T. C.), Hyde Park, Pa.; J. P. Harries (B.), Cattaraugus, N. Y.; Wm. Roberts, D. D., Bellevue, Pa.; John T. Davies, Ysw., New York.

Yr wyf finau yn eich sicrhau fod y TEMPERANCE HALL yn dy da a chyfleus i ymfudwyr; a'i berchenogion yn bobl barchus, gonest, a charedig. Mae y ty

yn ddigon ehelaeth, fel y gall Mr. Jones wneyd lle cyfleus i 80 neu 100 o bersonau, pan fyddo angen am hyny. Mae y ty yn sefyll yn agos at y manau lle mae yr agerddiongau a'r reilffyrdd yn cychwyn. Mae gan Mr. C. Richards bob ymddiried yn Mr. Jones, a bydd yno yn aml yn ei gynorthwyo.—I. G.

SYLWCH.—Mae amrai o Dai ymfudol ereill yn cael eu cadw gan Gymry yn ninas New York, ond nid wyf yn ddigon hysbys o honynt i'w cymeradwyo yma. Ac y mae Tai Ymfudol hefyd yn cael eu cadw gan Gymry yn Philadelphia, ac Utica, a bron yn mhob tref boblog yn y Sefydliadau Cymreig, neu yn agos atynt. Ond y maent yn rhy luosog i mi i gyhoeddi rhestr o honynt yma. New York yw y lle mwyaf pwysig, a'r lle mwyaf peryglus hefyd i ymfudwyr. Os cant le cysurus am bris rhesymol yno, ac os gallant fyned oddiyno heb eu twyllo a'u hyspeilio, dylent fod yn ddiolchgar. Nid raid iddynt ofni hyny yn y TEMPERANCE HALL, lle bydd pawb yn sobr a charedig.

---

# LIVERPOOL.

Mae Liverpool hefyd yn lle peryglus i Ymfudwyr Cymreig, ac y mae o bwys iddynt gael Goruchwyliwr Ymfudol gonest a chyfrifol yno, gyda thy da a chyfleus i letya. Ni bum yno er ys llawer o flyneddau, am hyny nid wyf yn gwybod dim yn bersonol am y Goruchwylwyr a'r Tai a nodir isod. Ond dywed Mr. Cadwaladr Richards fod cymeradwyaeth uchel yn cael ei rhoddi gan bapyrau a gweinidogion Cymru i Mr. N. M. JONES (Cymro Gwyllt), fel Goruchwyliwr Ymfudol medrus, cyfrifol a charedig; ac i'w dy fel llety cysurus i ymfudwyr.

**THE AMERICAN EAGLE, GAN N. M. JONES, (Cymro Gwyllt), 34 UNION St., LIVERPOOL.**

"Telir pob sylw i gysur a dedwyddwch yr ymfudwr ar daith yn y Ty ucnod. Llety glan, gydag ymborth blasus, am bris rhesymol. Ceiff ymfudwr o'r Hen Wlad bob nodded ac amddiffyn tra yn Liverpool; a gosodir y Cymry gyda'u gilydd bob amser yn y llong, gan nad i ba linell bynag y perthynant. Cynnorthwyir y Cymro Gwyllt yn y fasnach ymfudol gan James Rees, brodor o Ferthyr Tydfil. Mae genym *dy preifat* eang a chyfleus, gyda'r dafarn."

Gwelais hefyd gymeradwyaeth gweinidogion yr efengyl, o wahanol enwadau crefyddol, i'r personau a'r Tai Ymfudol isod, yn Liverpool:

**LAMB & EDWARDS, 41 UNION St., LIVERPOOL.**

**RICHARDS & LEWIS, 35 UNION St., LIVERPOOL.**

**ELIAS J. JONES, 8 and 14 GALTON St., LIVERPOOL.**

**MRS. M. JAMES, 19 UNION St., LIVERPOOL.**

Mae llawer iawn o'r gweinidogion Cymreig mwyaf cyfrifol a pharchus wedi bod yn lletya yn nhy Mr. Lamb, 41 Union Street; ac yn nhy Elias J. Jones, 8 and 14 Galton Street. Cofiwch fod "Ty preifat eang a chyfleus," gyda'r dafarn, gan Mr. N. M. Jones, 34 Union Street; ac mai "Nid tafarn yw Cartref yr Ymfudwyr," gan Mr. Elias J. Jones, 8 and 14 Galton Street, Liverpool. Ceir llety cysurus am bris rhesymol, yn mhob un o honynt. Dewised pob un y Goruchwyliwr a'r Ty a farno oreu. Y mae y fath dai yn rheidiol, ac yn dra gwerthfawr i ymfudwyr, yn nhref fawr a pheryglus Liverpool. Mae y cadarnaf a'r doethaf o ddynion mewn angen am nawdd a chyfarwyddyd yno, yn gystal ag yn New York, a dinasoedd mawrion ereill.

# LLYFRAU, &c.

1. Y Drych.—Papyr Newydd wythnosol, gwerthfawr a chenedlaethol. Pris $2.50 o flaen-dâl blyneddol. Cyhoeddir gan J. Mather Jones, Ysw., yn Utica, Oneida Co., N. Y. J. C. Roberts, Ysw., Trefnydd Cyffredinol. T. J. Griffiths, Argraffydd, Exchange Buildings, Utica, N. Y.

2. Baner America.—Papyr Newydd wythnosol, rhagorol, a chenedlaethol. Pris $2 o rag-dâl blyneddol. Cyhoeddir gan Bwyllgor, yn Scranton, Luzerne Co., Pa. Golygydd, T. B. Morris, Ysw. Trefnydd Cyffredinol, W. S. Jones, Ysw. Box 174, P. O.

3. Y Cyfaill.—Cyhoeddiad Misol gwerthfawr y Trefnyddion Calfinaidd. Golygwyr, Parch. Morgan A. Ellis, Hyde Park, a'r Parch. Wm. Roberts, D. D., Bellevue, Pa.

4. Y Cenhadwr.—Cyhoeddiad Misol yr Annibynwyr. Cynnwysfawr a chwaethus. Golygydd a chyhoeddwr, y Parch. Robt. Everett, D. D., Steuben, Remsen P. O., Oneida Co., N. Y.

5. Y Seren Orllewinol.—Cyhoeddiad Misol y Bedyddwyr. Nid ymddangosodd y "*Seren*" hon, na'r "*Wasg*" ychwaith, er ys llawer o fisoedd. Ond bwriadant gael cyhoeddiad teilwng o'r enwad yn fuan. R. Edwards, Pottsville, Pa.

6. Yr Ysgol.—Cyhoeddiad Misol i Blant ac Ieuenctyd Cymry America. Pris $1 o rag-dal blynyddol. Coethedig, trefnus, ac arluniol. Cyhoeddwyd ac argraffwyd gan Hugh J. Hughes, Ysw., N. Y. Bu farw Mr. H., ac ni ddaeth yr "Ysgol" allan yn ddiweddar; ond y mae Mri. Wm. Ap Madoc a T. Solomon Griffiths, Utica, N. Y., am ei ddwyn allan dan yr enw "Blodau yr Oes a'r Ysgol." T. J. Griffiths, Argraffydd.

7. Yr Ymwelydd.—Misolyn bychan ar ddull newyddiadur. Cynnwysa erthyglau byrion, a hysbysiadau. Gol., Henry M. Edwards, Hyde Park, Pa.

8. Y Negesydd.—Misolyn tebyg i'r "Ymwelydd." Cyhoeddir gan R. T. Daniels, Ysw., Brownstown, Ormsby P. O., ger Pittsburgh, Pa.

9. Gemau Llwyfo.—Pris $1. Cynnwysa ddetholion o brif gyfansoddiadau barddonol yr awenydd a'r cerddor enwog Llew Llwyfo. Argraffwyd gan T. J. Griffiths, Utica, N. Y.

10. Hanes y Gwrthryfel Mawr.—Gan T. B. Morris, a J. W. Jones, Gol. y *Drych*. Daw allan yn rhanau a chyfrolau. Mae y Gyfrol I., pris $4, allan o'r wasg. Cynnwysfawr a gwerthfawr i bob Cymro a Chymraes. Argreffir gan T. J. Griffiths Utica, N. Y.

11. Y LLYFGELL GRISTIONOGOL.—Cynnwysedig o weithiau Hen a Diweddar yr awdwyr mwyaf crefyddol. Daw allan yn rhifynau o wahanol brisiau. Rhif. I. "Ffordd Anffaeledig i Foddlonrwydd." Pris 35 cents. Cyhoeddwr, Parch. Thomas T. Evans, Holland Patent, N. Y. Argraffydd, Evan E. Roberts, Ysw., Utica, N. Y.

12. CYFANSODDIADAU CERDDOROL Joseph Parry, Ysw., Pencerdd America. Pris 75 cents. Gwerthfawr, cysegredig, &c. Goruchwyliwr, Mr. Gomer Thomas, Danville, Pa.

13. COLOFN Y GWIRIONEDD.—Yn cynnwys dros Dri-ugain o Erthyglau Gwreiddiol, ar Natur, Dysgyblaeth, Swyddau, Annibyniaeth, &c., yr *Eglwysi Cristionogol*, gan R. D. Thomas, (*Iorthryn Gwynedd*). Pris $1.50 a $1.75, a $2, mewn gwahanol rwymiadau heirdd. Gwerthwyd dros ddwy fil o honynt eisoes.

14. Y GYFROL I. o "HANES CYMRY AMERICA," &c., gan *Iorthryn Gwynedd.* Pris $2, a $2.50, a $3, mewn gwahanol rwymiadau heirdd.

15. CYFROL II. o "HANES CYMRY AMERICA," &c., gan R. D. Thomas, (Iorthryn Gwynedd.) Cynnwysa Hanes Gweinidogion, Pregethwyr, Llenorion, Beirdd, Cerddorion, Golygyddion, Gwleidwyr, Meddygon, Cyfreithwyr, Enwogion, &c., Cymreig America; gyda Phigion o Weithiau y Beirdd, Hanes ein Llenyddiaeth, yr Eisteddfodau, &c.; Nodiadau Beirniadol; a rhai Darluniau. Pris $2, a $2.50, a $3, mewn gwahanol rwymiadau heirdd. Cyhoeddir mor fuan ag y gellir, os ceir digon o gefnogaeth a rhagdalion prydlon.

16. Y BEIBL CYMRAEG A SAESONAEG, (*The Welsh and English Bible.*) Mae y Beibl Dwy-Ieithawg a Darluniadol hwn yn sicr o fod yn drysor gwerthfawr i Gymry America, am fod y ddwy iaith yn cael eu harferu mor gyffredin yn ein teuluoedd, ein hysgolion Sabbothol. ac yn ein pwlpudau. Daw allan yn rhanau. Mae arnynt eisiau dosparthwyr cyfrifol yn mhob sefydliad Cymreig. Anfonwch at A. W. Gittins, Esq., office of the London Printing and Publishing Company, No. 17 Park Place, New York.

SYLWCH.—Gellir cael pob math o'r llyfrau Cymreig a gyhoeddwyd yn Nghymru, ac yn America, trwy anfon at y gwahanol argraffwyr a'r cyhoeddwyr yn y wlad hon; ac at y dosparthwyr canlynol:—A. O. Jones, Box 536 Columbus, Ohio; Parch. Wm. Hughes, (T. C.) Racine, Wis.; Thos. T. Jones, Mahanoy City, Pa., ac ereill a hysbysir eto.

